# LLAIS O'R LLWYN:

SEF

# BARDDONIAETH AR AMRYFAL DESTYNAU, &c.

GAN JOHN EDWARDS.

*(Eos Glàn Twrch.)*

UTICA:

ARGRAFFWYD GAN EVAN E. ROBERTS, 2 HEOL SENECA,

DROS YR AWDWR.

1854.

# RHAGDRAITH.

## AT EIDDUNWYR YR AWEN.

Ni fedda yr Awdwr un esgusod iddei gynyg dros ymddangosiad y Gyfrol hon yn eich gwydd, ond yr hoffder boreuol ag a brofodd, ac a brofa yn feunyddiol at Farddoniaeth yn ei iaith gysefin. Nid yw y brofedigaeth a gyfarfyddodd llawer yn ngwlad ein genedigaeth mewn cyffelyb anturiaeth yn anwybodus iddo, yn nghyd a yr anfanteision yn y wlad hon, lle mae y genedl yn gymaint llai o nifer, ac ar grwydr, i roddi cylchrediad i unrhyw gyhoeddiad; ac yn fwy na hyny, am fod y chwaeth at y gelfyddyd oruchel mor annghyffredin ac isel yn ein mysg.

Gwir yr ystyrir cenedl y Cymry, gan genedloedd eraill, yn rhai a thuedd neillduol ganddynt at Farddoniaeth; yr hon mewn gwirionedd nas gall fod yn ystyriaeth gywir. Y mae yn wir eu bod yn hynod yn eu hymarferiad â rhyw Benillion ar gynghanedd, a thinc gydseiniol ynddynt, o ba rai y mae ganddynt nifer afrifed yn eu hiaith, ac fel aber yn dylifo iddeu mysg yn barhaus trwy yr argraffwasg; ac nid oes achos fod pall arnynt tra y byddont mor ymddifad o ôl llafur meddyliol i gyfansoddi Barddoniaeth Gynhwynol.

Tebygol fod hyn wedi ei achosi, lawer, trwy y mesurau byrion a chaethion a arferid gan y Beirdd

gynt i gyfansoddi eu gweithion arnynt, ac i'r cyffredin trwy eu hefelychu, fyned mor ymroddgar i fesur a chynghanedd, nes colli synwyr a meddyliau o'u cyfansoddiadau i raddau gofidus. Bu hyn yn achos i'r rhai mwyaf eu hathrylith alw am ddiwygiad yn Nosparth Dafydd ap Edmwnt, o Reolau Cerdd, ac i ddewis y Mesurau Seisnig Pryddestol sydd mewn ymarferiad cyffredin y dyddiau hyn, ac i beri i eraill mwy haerllug, ac anfeistrolgar yn y gelfyddyd, i geisio alltudio y gynghanedd fel yn mysg gweddillion Paganaidd, i'r Pwll Diwaelod.

Gwir na ddylid dilyn y gynghanedd ar draul colli y synwyr, tywyllu yr ystyr, na chaethiwo y dychymyg; eto, difodi y gynghanedd a fyddai yspeilio ein Barddoniaeth o un o'i theithi rhagoroḷ, er mwyn ei gosod yn gydradd â'r eiddo cenedl arall na fedd y cyfryw deithi.

Mae yn wir, mai Meddwl yw sylwedd Barddoniaeth, fel y mae y maen yn y gloddfa; ac y mae y Pryddestwr fel y saer â'i betryal, ei gun, a'i ordd, yn ei gymwyso i'r adeilad; ond y mae y Bardd galluog efo y gynghanedd, yn ei gaboli yn llyfn a phrydferth yr olwg arno.

Gosodir yn erbyn y gynghanedd, fod y Bardd yn gorfod arfer mwy o eiriau yn ei gyfansoddiad nag a fydd angen am danynt er mwyn cyrhaedd cynghanedd, ac aberthu eraill y bydd synwyr yn eu galw, i'r un dyben. Mae yn wir fod hyny yn cael ei wneud i raddau cywilyddus, a bod y graddau hyny yn ymddybenu ar athrylith yr ysgrifenydd; canys y mae mor wir a hyny, fod y Pryddestau, a ystyrir yn flaenaf yn y dyddiau hyn, ac wedi eu gwobrwyo fel y cyfrai, yn llawn o eiriau a allesid eu hebgor, oni buasai fod ar y Bardd angen am danynt i wneud mesur neu odl, ac fod yr awdwr (fel maensaer yn cadw crug o gym-

rwd wrth ei ochr, i lanw gwaglëoedd) yn cadw geiriau fel *hyfryd*, *hynod*, a *llon*, i ateb i'r terfyniadau *yd*, *od*, *on*, bryd bynag y daw geiriau a hwynt i'w wasanaeth. Ac ar yr un tir y gellir cwyno am ryddiaeth gaeth yn lle Pryddest; canys gellir cynwys meddwl dwy linell o'r olaf yn y gyntaf yn fynych, a hebgor yr holl eiriau cyfansawdd a wneir i lanw y banau ac i gadw yr odl, pa rai sydd yn tywyllu y synwyr ac yn trymhau yr ymadrodd i'r glust.

Ac felly, yn niffyg Athrylith, gwelir y gellir syrthio i'r un rhyw feiau gyda Phryddest, ag mewn Cerdd ar y Mesurau Caethion, (fel ag eu gelwir) ond barnwyf yn ostyngedig, fod digon o *ryddid*, a *braint*, yn perthyn i'r Mesurau hyny, ond arferyd Cyhydedd a Phenillion priodol, i'r Bardd celfydd i osod ei feddylian allan yn gyflawn a dealladwy, wedi y gollyngdod a roddwyd yn Nghaerfyrddin, 1819, oddiwrth Ddosparth D. ap Edmwnt; ac yn Eisteddfod Madog 1851, cymeradwywyd banau wythsill, yn gystal a rhai saithsill, mewn Englyn a Phenill o Gywydd, yr hwn ryddid a arferwyd weithiau yn y Gyfrol hon.

Rhaid addef fod y Darnau goraf a fedd ein hiaith o Farddoniaeth, hyd yma, yn gyfansoddedig ar Gynghanedd; mae yn wir y gall y Pryddestwr fyned dros fwy o dir mewn llai o amser na'r Bardd Cynghaneddol, o herwydd rhwyddineb ei fesur; ond a gadael fod defnyddiau meddyliol y ddau yn gyfartal, rhaid addef nad yw cyflawniad y cyntaf, yn y gosdiad allan, ond haner y ffordd i'r olaf, os addefir fod yr erddygan yn addurn farddonol; ac os na chaniadheir hyny, Paham y caethiwir y Bardd mewn Pryddest at fesur, acen, ac odl? Paham na esyd allan gyneirchion ei feddwl yn rhyddid ëangaf iaith?

Ond gofynir, Paham, os nad oes caethiwed yn y

Mesurau arferedig yn ein mysg, fel cenedl, ein bod yn ol i genedloedd eraill am Farddoniaeth Odidog? Hyn a ellir yn hawdd, dybiwyf, roddi cyfrif o hono, trwy yr anfanteision ag y bu y Cymry danynt chwaethach y Saeson, am wybodaeth gyffredinol, ac amser i ddilyn y gelfyddyd. Os bu Thomson bedair blynedd yn cyfansoddi ei Gân ar y Tymorau, ac un-mlynedd-ar-bymtheg, weithiau yn ei breswylfa hyfryd ar lanau y Tafwys, bryd arall yn teithio trwy ranau brasaf Cyfandir Ewrob, gyda digon o dda y bywyd hwn, cyn ei dwyn iddei diwyg bresenol! Pa beth oedd mantais y Bardd Cymreig efo ei rybudd un dydd a blwyddyn, a llawer llai yn gyffredin, i gyfansoddi ei gân, a dilyn rhyw alwedigaeth arall yr un pryd? Ac wedi y cyfan yr oedd Cân y Bardd Seisnig i gael ei rhoddi yn ddarostyngedig i arolygiad a diwygiad ei gyfaill Pope. Ond nid felly efo ein Beirdd ni; wedi bod dan sylw Beirniaid Eisteddfodol, rhaid bod yn ofalus i beidio eu diwygio, na eu coethi, rhag gwneud cam â'r gysdadlenaeth; neu ynte, mae y darnau goraf a fedd ein cenedl, heb gael dim ond sylw eu hawdwyr yn unig.

Tybiwyf fod yr hyn a ddywedwyd, yn ddigon achos nas gall ein Barddonineth, fod yn gydradd a yr eiddo cenedloedd eraill, ag y sydd gymaint yn mlaen arnom yn y celfyddydau, ac mewn manteision o bob natur. Ond taflu y bai wrth ddrws y *Gynghanedd* sydd annhêg, ac yn hytrach na ei bod yn llyffetheirio Drychfeddyliau, rhaid yw ei bod yn fwy cynorthwyol iddeu cynyrchu i'r Bardd athrylithgar. Ond fel y crybwyllwyd, mae llawer o gam wedi cael ei wneud a'n Barddoniaeth, trwy dalu sylw yn ormodol i'r Gynghanedd, ac ymfoddloni ar hyny. Ac fel yr aeth un Dosparth yn rhy bell i yr ochr hono, mor wired fod y llall yn myned i eithafion y ffordd arall, trwy ddilyn dullwedd iaith arall yn ormod, nad yw yn dygymod â Barddoniaeth yn

ein hiaith gynhwynol; ac nid yn unig y mae gormod o efelychu ar ddull y Sais yn ein dyddiau ni, ond hefyd chwiliena defnyddiau ar hyd ei feusydd, ac aml un wedi derbyn gwobr yn lle cerydd am ei waith.

Er mai *Dychymyg* yw un o brif addurniadau Barddoniaeth, eto y mae perygl myned i eithafion, trwy ei dilyn i ormodedd. Y mae llawer un wrth ymgeisio am ucheledd yn y dull uchod, wedi myned i niwl a phellafoedd o olwg ei ddarllenydd, fel nas dichon neb ond ef ei hunan wybod pa ffordd y mae yn meddwl dyfod allan, na pha beth oedd ganddo mewn golwg wrth gychwyn. Dylid fod ffrwyn i'r Dychymyg, yn arbenig wrth ymdrin â phethau yr Ysgrythyr lân, gan gymeryd y symlrwydd â'r boneddigeiddrwydd a arferwyd gan y Beirdd Ysprydoledig, yn nôd i gyrchu ato.

Er y dywedir gan lawer, mai *Difyrwch* yw prif ddyben Barddoniaeth; ond y mae yn amlwg fod gan Gyfansoddwyr Barddoniaeth Ysgrythyrol, uwch dyben na hyny; a dylid fod eto, sef trosglwyddo gwersi o foesoldeb a rhinwedd, mewn ffurf ddychmygol, a gwisg ddeniadol pêrseiniaeth, mewn trefn i gyffroi y *dymer*, a'r *côf*, iddeu hargraffu ar y *deall*, fel ag y byddo iddynt aros yn y *meddwl*. Y mae gweithion y Beirdd Seisonig, gan mwyaf, yn llawn addysgiadau o'r fath, yn ol ansawdd eu testynau, nes gwirioneddoli y llinellau—

"Truth severe in fairy fiction dressed."

Nis gall y diwygiad ag y sydd mewn moesau, yn mysg ein Beirdd Cymreig, yn yr oes hon, ddim llai nag ynyll sylw a chreu llawenydd yn mynwes y Cristion, a'r dyngarwr. Bu y ddawn oruchel yn ddirmygedig yn ngolwg Gwladwriaeth cyn hyn, o herwydd isder ymarweddiad ei choleddwyr; ac nid yn mysg ein cenedl ni yn unig, ond yn mysg cenedloedd eraill hefyd.

Nid oedd Burns, a Byron, yn gyfryw ag a ddymunasai moesoldeb iddynt fod, i dderbyn ac arfer eu talentau; ac yr uñ modd y gellir dyweud am lawer o ddylynwyr yr Awen Gymreig. Ond yn y dyddiau hyn, y mae yn cael edrych arni, a'i phrisio yn fwy teilwng o'i gwerth priodol, ac yn fynych, yn cael lle wrth ochr y Weinidogaeth. Gan hyny, bydded *gwiliadwriaeth*, a *gweddi*, am iddi gael ei harwain gan y cyfarwyddiadau a osodwyd gan ei meddianwyr cyntefig, o dan gynhyrfiadau Ysprydoledig, tra y byddo yn preswylio mewn teml lygredig o gnawd; ac hyd ei gollyngdod i berffaith ddedwyddwch, i rodio gwlad ei genedigaeth yn ei helfen, gan dreiddio i ddyfnion bethau Tri yn Un; byth heb ofni cyfarfod y llew o *Ryfyg*, a thramwyo tiroedd ëang a dirgel Trefn Iachawdwriaeth, heb berygl cael niwaid gan un arth o *Gyfeiliornad*, ydyw dymuniad, y gwaelaf yn y frawdoliaeth.

EOS GLAN TWRCH.

*Floyd, Mawrth* 27, 1854.

# CYNNWYSIAD.

## ANERCHIADAU I'R LLYFR.

---

Galw mewn mawr ddysgwyliad—y mae llu,
Am y '*Llais*' ar ganiad,
'*O'r Llwyn*' a'i fawr ddarlleniad;
Rydd wledd i Gymry'r ddwy wlad.

*Efrog Newydd.* GWILYM AB IOAN.

Mae cais am y '*Llais o'r Llwyn*,'—na arhoed
Yn rhy hir rhag achwyn;
Hynaws mae ein Hëos mwyn—yn canu
Yr wy'n golygu ar bren neu glogwyn.

IEUAN LLYFNWY.

'*Llais o'r Llwyn*' wna gyflwyno—ffrwyth awen,
A ffraeth yw rhaid coelio;
Gwaith Eos hardd, brif-fardd ein bro,—a hir
Cenir a chyhoeddir mawr barch iddo.

*Summit Hill, Pa.* DANIEL J. EVANS.

'*Llais o'r Llwyn*' addwyn bereiddiaith,—pencerdd,
Pynciwr per dilediaith;
Yn llawn o'r gwin, allan â'r gwaith,
O aur weithienau'r Frythoniaith.

*Osh-Kosh, Wis.* PETER GRIFFITHS.

'*Llais o'r Llwyn*,' lles i'r llenor—ei feddu,
Er iawn agweddu, i'r un egwyddor;
Diamau am dymor,—na cha Cymru,
Faith ei hanrhegu a'i fath yn rhagor.
*Utica.* AP LLYWELYN.

Tra mwyn, yn y llwyn, i'n lloni,—i'w cân,
Y ceinwych edn heini;
Melysach, mwynach, i mi
Eosgan, awen wisgi.
IOAN IDRIS.

'*O'r Llwyn*,' dyma i ddarllenydd,—hir-wledd,
O arlwy Bardd celfydd;
Ceir grawn yn y dawn bob dydd,
Yn swyn o faes awenydd.
*Efrog Newydd.* ROBERT RICHARDS.

O lwyn têr cawn lawn toraeth—o'r grawnwin
Ar gryno farddoniaeth;
Diliau Caerefrog Dalaeth,
A môr o ddawn, mawr a ddaeth.
*Efrog Newydd.* ROEERT ROGERS.

'*Llais*' peraidd o lwyn y llwyni,—lles yw,
Llais Eos yn odli;
Ar bob côr mae'n rhagori,
Gwell nid oes yn ein hoes ni.
*U.ica.* RICHARD HUGHES.

# HYSBYSIAD.

Achlysurwyd cyfansoddiad yr *Awdl ar y Croeshoeliad*, gan rybydd Eisteddfodol Dolgellau, a gyhoeddwyd 1852; nid yn gymaint o ran meddwl enyll y Dorch, na chyrhaedd y Wobr, ond am fod y testyn mor oludog o ddefnyddiau gwerthfawr i'r meddwl fywioliaethu arno. Ond wedi i'r cyhoeddiad hwnw droi yn fethiant, dygwyddodd i'r Cyfansoddiad fyned dan sylw un o Feirniaid gaullog Barddoniaeth Gymreig, yr hwn a wnaeth rai sylwadau o ansawdd feirniadol arno, ac o duedd anogaethol fel y gwelir isod.

*Clynnog Fawr, yn Arfon, Talaith Gwynedd, Cymru, Awst 1af.*, 1853.

'Mae bywiogrwydd a grymusder yr Awdl, yn nghyd a'i theithi gwir farddonol yn ei gwneyd yn waith o deilyngdod mawr; nid athrylith fechan a allasai ei gwneyd y peth yw; byddai ei hail ysgrifenu a'i chaboli yn dda o ran iaith a synwyr, mesur, a chynghanedd, yn debyg o ychwanegu at ei hysblander;* modd bynag, gellir dyweyd am dani ei bod ar y cyfan yn enghraifft odidog o ansawdd ddiwylliedig ac iachus llênyddiaeth farddonol Gymreig *Unol Dalaethau Amerig*, a'i bod yn anrhydedd nid yn unig i'w hawdwr, ond hefyd i athrylith trefedigaethau tramor Cymreig, yn gystal ag i lênyddiaeth gynhenid y Fam Wlad.'

EBEN FARDD.

* Diwygiwyd y manau hyny ag a nodwyd gan y Beirniad, yn ol gallu yr awdwr, yn y Cyhoeddiad hwn.

# . LLAIS O'R LLWYN.

---

## AWDL AR Y CROESHOELIAD.

---

"A phan ddaethant i'r lle a elwir Calfaria, yna y Croeshoeliasant ef."

---

### CYNNWYSIAD.

*Cyfarch y Testyn — ei deithi hollgynhyrfiol — Gras anfeidrol yn Nuw yn anfon ei Fab i barthau isaf y ddaear—-ymddarostyngiad y Mab—-undeb y ddwy natur yn ei Berson—-creulondeb yr Iuddewon ato-— cyflwr truenus dyn wedi ymadael â Duw—amlygiad o gynhadledd rhwng y Priodoliaethau Dwyfol, er ei adferu—Llyn Trugaredd yn croni rhwng Mynydd-oedd Cyfiawnder—Doethineb Ddwyfol a'i hanadl yn chwythu y dyfroedd dros eu glanau at hil syrthiedig Adda---Yn y dylifiad, Ceidwad dyn yn dyfod i'r byd ---ei ymddangosiad isel yn Bethlehem---ei ddynoliaeth lân---y Ddeddf yn gorfforedig ynddo---ei fywyd daionus yn ngosodiad ei Deyrnas yn y Byd---ei weinidogaeth wyrthiol yn dylanwadu ar y werin---y Penaethiaid yn cenfigenu---Suddas yn ei fradychu---cynnulliad hwyrol yn llŷs Annas---sefydliad y Cymun Sanctaidd---Iesu a'i ddygyblion yn ymadael o ystafell y swper---ei ymdrechion yn yr Ardd, mewn rhagolwg*

*o'r poenau dynesol---Angel yn ei gysuro---ei Ddysgyblion yn ei adael---dyfodiad Suddas a'i fyddin---ei ddal---ei brawf---ei ddiniweidrwydd---ei wawdio---ei fflangellu----Pilat ar gais yr Iuddewon yn ei draddodi iddei Groeshoelio!*

*Parotöadau at y Croeshoeliad----Iesu yn dwyn ei Groes i le y Benglog---gweinyddu y Croeshoeliad---y poenau arteithiol---ysbryd addfwyn a maddeugar y Gwaredwr---yr amgylchiad yn cynnull llawer i'r fan—merched Salem a Galilëa yn wylo---yr effaith ar wlad y Gogoniant---anfon Gabriel yn genad i'r ddaear---ei hynt trwy y bydoedd wybrenol---canfod y ddaear---ei gwedd ddyeithrol---yr Angel yn sefyll uwch yr Iesu---y natur angylaidd yn methu dal yr olwg---Diafol a'i angelion yn duo yr awyr, gan eu nifer, wedi ymgynull ar yr awr ragderfynol i ymosod ar y Gwaredwr---yr angel syrthiedig mewn euogrwydd yn ymguddio o wydd angel y goleuni---Ellyllon Abred fel teirw yn ymosod ar enaid y Cyfryngwr---y Ddeddf yn arllwys ei melldithion----y Tad yn euddio ei wyneb rhagddo dan gyfrifiad o bechodau ei bobl---y Greadigaeth yn teimlo yr amgylchiad----y natur Ddwyfol yn dal y Ddynoliaeth heb ysgogi---Angeu fel arwydd o'r frwydr yn troi yn ddinystriol iddo, yn gollwng lluoedd o'i afael.*

*Iesu yn cael gwaelod y Cwpan----effaith y gair* GORFFENWYD *---Diafol a'i lengau yn syrthio yn ol i Uffern---Gabriel yn esgyn i'r Nefoedd-- y Ddeddf yn llonyddu---Iesu yn ymostwng yn wirfoddol i Angeu---ei farwolaeth---Duw ei hun yn ysgwyd anian ar y pryd---euogrwydd yn tarawo y dyrfa---Llen y Deml yn rhwygo---Defodau Iuddewig yn cael eu diddymu gan Aberth y Groes---rhinwedd yr Aberth yn cael ei brofi trwy achub y lleidr-- -effaith Gweinidogaeth y Groes ar y byd yn gyffredinol---y Proffwydoliaethau*

*yn cael eu cyflawni---y Cysgodau wedi darfod eu gwasanaeth—Haul yr oruchwyliaeth efengylaidd wedi codi---yr Arfaeth dragywyddol wedi goruwchlywodraethu y pethau mwyaf gelynol i ddwyn oddiamgylch Iawn am bechod----natur yr Iawn. Diweddir trwy nodi tri dydd ag sydd yn sefyll fel tri chyfnod amser, s. f. Crëad, Croeshoeliad, a Barn: a'r mwyaf o ba rai yr ymddengys y* CROESHOELIAD.

## AWDL, &c.

ER y dydd y crëwyd Addaf,—yn fyr,
O ddim îs awyr, lladd y MESSIA,
Fu caled weithred uthraf—dynoliaeth,
O'i garw elyniaeth, dyna'r greulonaf.

Anian hurtiodd yn ei artaith,—ochai
Pob achos ac effaith;
Bro y Nef oedd heb yr un iaith,
Ac annwn yn wâg unwaith.

Yr Iuddew'n ei lofruddiad—diffygiol,
O'i nwydau erlynol ein darluniad;
Ond o du ein Duw Dad—byth rhyfeddir,
Y grâs a welir yn ei Groeshoeliad.

Ei unig Fab ei hunan,—wedi byw
Cyn bod byd yn hongian,
Ynddo Ef yn ddiwahân—
Un hanfod yn ei hunfan!

O'i fynwes Ef anfonodd,
Dyna râs, i'r byd yn rhodd!
A hollol o ewyllys
Wrth y llw, cyfraith y llŷs,
Parod y Mab o herwydd
Ei Dad yn rhoi, d'od yn rhwydd
Wnaeth yntau, i barthau'r byd—
Oen a fu yn ei fywyd.

Taweliad dau elyn,—a iawn heddwch,
I'w haeddiant y perthyn;
Yn ei waed, boddlon wed'yn
Yw Duw'n ysgwyd llaw â dyn.

Mewn gwaeledd er gwneud heddwch—anwylai
Ddynoliaeth a'i thristwch;—
O! gwlwm llawn dirgelwch,
Nid llai na Duwdod a llwch!

O hyfrydwch y Nef i waradwydd,
Deuai, ac Israel wedi'i agosrwydd,
Yr un dilwgr yn dilëu euogrwydd,
Yn eu trwmgwsg a'i gwnaent yn faen tramgwydd;
Gyda sen gwadu ei swydd,—a'i holl rin,
A'i feio'n erwin gan ofyn arwydd.

Ei watwar a'i garcharu,—ei wrthod,
A'i warthus gollfarnu,
O lŷs i lŷs, faleisiol lu,
Dan gur—a Duw'n ei garu!

Wedi hir greulonderau—o'u dû lid,
Ei ladd ar groesbrenau;—
O'i ddiwedd caed allweddau—dirgeloedd—
Ateb yr ydoedd at y bwriadau.

Gyda'i Dduw, gwedi i ddyn—wneuthur rhwyg,
A thori'r iawn derfyn,
A'i adael gan Dduw wed'yn—am ei ddrwg
I farw'n ei olwg, a'i fwrw yn elyn.

Diweddodd pob dedwyddyd,
Anafai'r bai 'n fawr y byd;
Daear i gyd wedi'r gwall
Gwisgwyd â drain ac ysgall;
A'r dyn yn garcharor daeth,
Ar wely dû marwolaeth,
I aros am ei drosedd
Fe ddaeth i gadwraeth Deddf;
Yn ofid troes ei nefoedd
Yr un nef—ei uffern oedd.

Ond draw y sylwyd ar ei iseledd,
Cyn ei genhedliad, ac un gynhadledd,
Darparwyd alw gan dair priodoledd
I'w adferu, a'i godi i fawredd;—
Wedi 'i weled yn ei waed a'i waeledd,
Ymgynhyrfai, agorai Trugaredd,
I hwn gronfa o hedd,—o'i mynwes hael,
Yn fôr am gael dyferu ymgeledd.

Ond er ei atal, Cyfiawnder eto,
Yn uchel oedd fynydd-gylchol iddo
I'w ddal, i afael dyn heb ddylifo,
A thori at yr euog—eithr treio,
Ni cha'dd ei ddwfr ond chwyddo—'n nerth Cariad,
A'i ddylanwad tragywyddol yno.

Yna i chwythu, dyma'n chwa weithion,
Heibio anadl hen Ddoethineb union

Dyfal heliai, a'r Dwyfol awelon,
Fe yrodd y môr a'i ddyfroedd mawrion
I waelod bro marwolion,—yn ffrydiau
Dros ei lanau'n rhad rås i elynion.

Wrth ddylifo'r nerthol afon,
E gaed tyner Geidwad dynion,
Y Messia, mwy O! Seion
Deall ddidwyll addewidion.

Yn ol y bryffwydol ffyddd,
Dyfod o wreiddyn Dafydd,
Ger Salem, wnai i Bethlo'm bach,
I loty na fu tlotach.

Ei rïeni arweiniwyd,—o ethryb
Dyeithrwch ac anwyd,
Heb le ond rhyw ystabl lwyd,
Pan ini'r Mab hwn anwyd.

A'i gyfeillion gwynion, o'r gogoniant,
I'r ingau isod a'i hebryngasant;
A Mair a Ioseph a'i cymerasant
I'w breichiau, Iesu, eu mab barchasant;
Yna'i weision unasant,—Angelion,
Gwedi gwyw noson a gyd-ganasant.

Yn y preseb bu arosol—encyd,
Dan bynciau plygeiniol,
Ac yn nifyr swn cân nefol,—yno,
Y trodd i huno y natur ddynol.

Gorisel oedd ei groesaw,—
Ar y llawr priddlyd, gerllaw
Yr ychain, cysgai'n un cŵr—
Dyna grŷd ein Gwaredwr!

Ac i rodio ar ei waith crëedig,
Ynddo Ef yr oedd y Ddeddf fawreddig
Yn gorff aelodol, argraff weledig
O hon ydoedd, ei lwybrau'n unedig,
Fel dangoslen arbenig—o honi,
I fawr ragori'r hyn fu ar gerig.

Ond dilyn ei gnawdoliaeth,—union oedd
Yn un a'i Athrawiaeth;
Oes hwn oedd yn wasanaeth—
Dyna wir dim ond *da* wnaeth.

Bwydo'r llesg, rhoi bywyd i'r llall,—yr oedd,
Cyfarwyddo'r annghall;
A da lygeidydd diwall,
Oedd Ef i Bartemeus ddall!

Athraw doeth ar ei deithiau—i'r tlodaidd,
Addfwyn a llariaidd fu'n ei holl eiriau;
Yn oes o gymwynasau—gwnai'i fywyd,
Trwy wella penyd, rhoi llu o'u poenau.

Agor wnaeth mewn damegion,—a hollol
Ddarbwyllo 'i Ddysgyblion;
I'r goleu dwyn dirgelion—ei deyrnas,
Mewn geiriau addas a mwyn geryddon.

Ag isel ymddangosiad,
Aeth a daeth yn ngwaith ei Dad;
Yn ei bryd pob gwrthddrych bron,
A'i hadwaenai, ond dynion!
Y môr ni chamgymerodd
Ei Athraw mawr,—uthr! y modd!

Pan deithiai, rhodiai, ar hyd
Ei ddyfroedd, fel gardd hyfryd;
Y dw'r, y gwynt, ar y gair,
Gwareiddiwyd â'i geryddair;—
Ufudd-dod parod y pysg,
Weinyddwyd iddo'n hyddysg;
Yn haig, pan eu hanogwyd,
Prysurent, rhedont i'r rhwyd;—
Un, i barchu ei berchen,
Arian bath gariai 'n ei ben!

Ebol asyn o bleser,—y gwylltlwdn,
Gwalltlaes, troes o'i arfer,
I fyn'd yn llawn addfwynder,—heb brancio,
Yn union dano ai'n anian dyner.

I anedd-dai, mynydd-dir,
Aeth ar gylch, pregethai'r gwir—
A thrwy ei wir Athrawiaeth,
Cnewyllyn hedd, cynull wnaeth,
O'r bobloedd, luoedd ar led
Ar ei ol, er ei weled.

A'i wyrthiol arwyddion, nerthol roddent
Ei enw allan, a chan rai ynyllent
Gariad i'w ddilyn, o gred addolent;
Lluoedd hefyd ei allu addefent,
Yn anhygoel, mynegent—yn gyhoedd,
Mai Brenin ydoedd, mwy bron ni wadent.

At y Penaethiaid, eto pan weithiodd
Hanes yr Iesu, yn ïas urosodd;
Ei ddylanwad yn ofn ddilynodd,
Eu llid, a'u dichell, o hyd dewychodd:

Ac â'r Offeiriaid Suddas gorfforodd;
Un o'r *deuddeg!* yn awr a dueddodd
Satan, ariau gymerodd—ar ei law,
I ddal ei Athraw!—heddyw e lithrodd.

Wedi ymgynghori 'nghyd,
Am awr iddei gymeryd,
Dewisied, fyned ar fin
Yr hwyr, rhag ofn i'r werin.
Ei bleidio; o'r bobl, hyder
Lluaws fu'i ddidwyll oes fer.

Neuadd Annas oedd un nos Iau,—i gyd
Yn llawn gwawl llusernau,
Cynhyrfus dincian arfau,—gan dorf gas,
Milwyr i Suddas, aml rai o swyddau.

Tra'r unent yr awr hono,
Yn nghell ystafell, îs tô
Priddfaen, yr oedd pereiddfawl,
I'r Iesu 'n emynu mawl;
Wedi rhoddi arwyddion
O'i angeu, cyn dechreu'r dôn,
Er coffa, bara 'n ei ben,
Yr un wedd o'r winwydden,
Cymerodd, rhoddodd yr un,
"Cymer," medd, "Hwn yw'r Cymun,
"I'm cofio tra byddo byd,
"Rho'f Fara i'w arferyd,
"A'm Gwaed, ei goffa mae Gwin;
"Coffa rhyw waed nid cyffredin!"
A'i ffyddlon Ddysgyblion, gyd
Fwyt'ent, ac yfent hefyd,
A'u Hathraw, cyn dydd athrist,
Dydd poenau, dydd croesau Crist;

Ac wedi'r Wledd ryfeddawl,
Codent ymunent eu mawl.

Cyd-seinient, manylent eu hymn olaf!
Iesu'n dda wyddai 'i noson ddiweddaf,
A dyna fe 'i hunan, â'i dôn fwynaf;
Yn dda blaenorai, gan ddyblu'n araf;
Croyw geiriai, cywair goraf,—llu'r Nef wen
I ateb i'w acen, wnant debycaf.

Wedi'r cynulliad a'r canu, allan,
Tua Gethsemane—Efe'n fuan,
Aeth o'r ddinas, a sathrodd ei hunan
Winwryfoedd—a'r dysgyblion i rywfan,
Draw o'i wyddfod, a'i ruddfan—neillduent,
Cilient, ac hepient, tra'r yfai'r Cwpan!

Yntau oedd yn tueddu,—ar encil,
Is bryncyn o'r neilldu;
A'i enaid ar ddiflanu,
Wedi d'od y cyfnod dû.

I ardd, dan awyraidd dô,
Wrtho'i hun yr aeth heno;
Ei rudd wleb, ei wyneb ar
Y ddaear, yn gweddio!

Ah! rhy galedion y rhagweliadau
Iddo Ef ydoedd, Dyoddefiadau—
Oedd yn ei aros, ei dduon oriau,
Iddo luniwyd ar ëang ddalenau;
Wynebu 'i enaid wanai 'i boenau—a'u tân,
Achosai waed allan, o'i chwysdyllau!

Ac wedi ofni mewn gwaeau dyfnion,
Chwysu, a dyrchu at ei Dad eirchion,
Am ei wared o dan dònau mawrion,
Ei dduleth ofid, i ddal eithafion,
Holl lymder Cyfiawnder Ion,—wrth fyned,
Y dydd luniaethed, i'w ddwylaw noethion.

Ei ddyfal weddi Ef lwyddodd,—y Nef
Yn awr gydymdeimlodd;
A dwys Genad disgynodd—ar fyrder,
Ag arfoll tyner y gorfelltenodd.

Tranoeth, tost driniaeth, tystiodd,—er ei chael,
Y deuai o'i gafael fe 'i hadgofiodd:

Ei ogoniant datganodd—yn y Nef,
Ei hen gu haddef, yno'i gwahoddodd.

Pan o loes y pen laesodd,—i wylaw,
Dano ei ddwylaw sidanaidd ddaliodd.

Ei waedlyd chwys ddyhidlodd—mewn llefain,
Dan bwys ochain, hyd ei wyneb sychodd.

"Dy elynion di a lenwir—o warth,"
Ebr wrtho, "Dyrchefir
"Dy Enw, a'th hâd enir—yn mhob Ynys,
"Duw a'i ewyllys fel hyn diwellir."

Ameu, ac ofni, ymaith—o'i fynwes
Anfonwyd, a pherffaith
Hyder, ar gyfer y gwaith,
A thawelwch ddaeth eilwaith.

Wedi cael Gweinidog gwyn,
Iddei ochr, yn ei ddychryn,

Ei wedd yn adnewyddol,
A'i nerth ddychwelodd yn ol;
Oddiar lawr codi'n awr wnai,
A'r Angel a'i hebryngai,
Hyd cyraedd ergyd careg
I ddod at yr Un-ar-ddeg,
A chai bob un yn huno,
Yn llonydd, y trydydd tro.

Y Penyd trist!—pan y trôdd,
Y genad a esgynodd,
O'i wydd cyn y Dyoddef,
Yn ol diengodd i'r Nef.

A'r bleiddiaid rheibiol oeddynt,—am yr Oen,
A mawr rwysg dyheuynt;
Draw'n hwyr dros Gedron i'w hynt,—yn llidiog,
Y ceid danneddog heidiau o naddynt.

Ond yn y cyfamser, wele'r alwad,
O enau Iesu, yn dweud, Dynesiad
Yr hen Drysorydd,—yr hwn drwy siarad
Yn fwyn, â'i gusan fe wnai agosiad;
I roddi, trwy arwyddiad,—y dyrfa
Ar waith i'w ddala, â'i rith addoliad.

Iesu hynaws, ei hunan,
Safodd, sefydlodd ei fan,
A'r fyddin yn wirfoddol,
Cyfarfu heb nesu 'n ol;
Ei fraich oedd gadr mewn adrym,
Ac i'r llawr, ag un gair llym,
Yn llesg, y syrthiodd y llu,
O'i flaen, gan lwyr ddiflanu.

Ond nerth i godi gwed'yn,—Hwn iddynt
Weinyddodd, gan ofyn,
Ai Ef a wnaent ymofyn,
Ag arfau, ffaglau, a ffyn?

Yna medd, "Fy nysgyblion mwy,—rhoddwch
Yn rhyddion i dramwy;"
Wed'yn yn anwadadwy,
Rhoddai 'i hun i'w rhyddhau hwy!

Yn awr â dwylaw anwir ei dalied,
Mewn camwri i rwymyn ei cymered;
A daew hwy acw 'n llawn eu hoced,
A'u carcharor yn cyrchu i waered,
Tu a'u priflys, at y prawfle,—dan glôg
Bod, iddo'n ŵyrog—Fab Duw ddynwared.

Trwy y Swyddogion a'u traws eiddigedd,
Y dygai Iesu eithaf dygasedd;
Ei eiriau anwyl, dyferion rhinwedd,
Gan wawdio, yn gwbl eu gwneyd yn gabledd;
I'w wyneb bwrw eu poeredd—wnai'r milwyr,
Tynu haerwyr i dystio anwiredd.

A chloff ei air fu'r Uchel Offeiriad,
Rhyw wagedd hollol oedd rhwygo'i ddillad;
Gwarthus i grefydd y gwrth-ddysgrifiad;—
Am yr Un Gwirion, mawr iawn ei gariad;
Ef o'i wirfodd gymerodd gamhaeriad,—
Cyffes ulwai, Caiaphas, i'w holiad,
A Iesu a wnaeth gyffesiad,—yntau
A ŵyrdroes ei eiriau, drwy au siarad.

Er llais yr Offeiriaid a'r llu,—yn cwrdd
Mewn cyd-dystiolaethu,
Ni chaed, o'r mawr sychedu—ddydd a nôs,
Un tro yn ei achos, trwy wanychu.

At Herod er ei ddodi,—ac i'w hoff
Gaiaphas ei brofi,
A Philat graff ei holi,
Uniawn y troes gan y tri!

Yn y llŷs ni allasant,—gael ynddo,
Er ei gyhuddo, rith o ddrwg-haeddiant;
I gyraedd ffug warant,—traha a bloedd
Y tyrfäoedd eto a orfuant.

Er yn lân, o'r un elyniaeth—iddo,
Cynyddai 'i genhedlaeth,
Llefain oll a'i feio'n waeth,
Wnai i glyw ei Rhaglawiaeth.

Bai cryf, gwrthwyneb i'w crefydd—ei urdd,
A'i darddiad o Dafydd,
Yr hâd y ceid Gwaredydd;—eto gwaeth,
Hóni Dwyfoliaeth, un dihafelydd.

Yn erbyn Cesar bai arall,
A lliw gwahanol i'r llall,
A ddygent, cam ymddygiad
Wrth lŷs, a chyfraith y wlad,
Terfysgu, gwadu y gêd
Rufeinig—penderfyned,
Cyhoeddi y cyhuddiad,
Yn brif wrthryfel a brâd.

Ond eiddo Cesar yn ariant,—iddo
    Ef a roddai'n bendant,
Y geiniog, a'r gogoniant—gwaharddai,
I Dduw Ior fe'i rhoddai 'i ddirfawr haeddiant.

Pilat, yn wyneb holion,—Ef heb fai,
I'r llu gyhoeddai o'r holl gyhuddion;
Ond O! ei ddwylaw duon,—y Difai
I'w faeddu roddai, i foddio'r Iuddewon!

Ar hyn fe 'i harweiniwyd—i gwr y llŷs
Gerllaw, lle'i fflangellwyd,
A drain ei gefn a driniwyd—yn gwysau,
A gwe reffynau, a gwyfr gorffenwyd.

Hyd ei esgyrn diosgwyd—ei gnawd pur,
    Gwnaed pob cås ddych'mygwyd;
Yn eu plith y drain plethwyd,—yn goron,
A'i phigau hirion i'w ben hoff gyrwyd!

Ac fel eu Brenin, penlinio,—o wawd,
    A wnaent wed'yn iddo,
Yn nwydwyllt ei gernodio,—crochlefed,
Eisieu 'i weled yn myn'd i'w groeshoelio.

  Yn ei swydd, tra'n gorseddu,
  Dwys genad at Bilat bu,
  Ei wraig, yn awr rywiog nwyd,
  A brudd adroddai 'i breuddwyd:
  "Braw noeth," ebr hi, "neithiwr
  "Oddefais, gwelais y Gwr,
  "O flaen y byd fel oen bach,
  "Dan ei ofid yn afiach;
  "Ei wedd ef i'm gwydd a ddaeth,
  "Ni chiliodd ei ddrychiolaeth,

"Ei agwedd i'm golygon,
"Hynod yw yr enyd hon,
"Didwyll, diniwaid ydyw,
"Cofia, 'n wir y Cyfiawn yw."

Ei hynaws archiad, yn serchog—y traethai,
O'i blaid tynerau Bilat annwrog;
Diniwaid yn euog,—nid hawdd barnu,
Heb dawelu y gydwybod halog.

Chwenychu wnai i'w achos,
A'i brawf ddiweddu mewn brys;
Cynygiai (cwynai agos,)
Yn llwyr ei ollwng o'r llŷs.

A'r Iuddewon yn llawer a ddeuent,
Hefyd i'w gyfarch, ei ddefod gofient,
Er hynodi 'r wyl, yr hon a drenlient,
Rhyddid i *un* carcharor a waeddent;
A'r un a ddymunent—oedd Barabas,
Wnaethai alanas, wrtho hwy lynent!

Ond Pilat gan eu hateb,—fe wyntiai
Y fantais o'u deiseb,
Rhoi Iesu 'n awr, a chroesi neb,
Chwanog oedd rhag trychineb.

Ond deisyf Croeshoeliad Iesu,
A rhyddhau lleidr, yr oedd y llu!

Yntau eilwaith ataliodd—ei holi,
A'i ddwylaw'n lân olchodd,
A'i *waed* fel hyn ymwadodd,—i'r llygaid,
Ymolchai, a'i enaid a ymlychwinodd.

Yn lle mwrddwr, llyma urddas—yn myn'd
Yn y mawr alanas;
Yn lle Crist, ffynonell grâs,—gan y rhai'n,
Yn rhydd, bu'r ubain, roddi Barabas.

Awdwr rhyddid o wreiddyn,—dynoethwyd
Dan eithaf cosp caethddyn;—
Delw Duw, rhoes dwylaw dyn—i'w Groeshoelio,
Heb ryw o fai ynddo'n nhyb Rhufeinddyn.

Yn y brwd duedd, a'r ymbar'töad,
Draw o barthau y wlad i'r aberthiad,
Rhoed Caersalem, ar bryd y Croeshoeliad,
Yn boblogaidd, a chan bawb olygiad,
I'r lle ceid Galilëad,—dieuog,
Yn profi yno o gosp Rhufeiniad.

A phrysuro'n awr wnai dirfawr dyrfa,
Troes o wyddfod Pilat a'i orseddfa;
I'r Benglog aethant, ar ben Golgotha,
Y lleisiau milwyr, yn llu ysmala,
Yn ninystriol alanastra,—anferth,
A Iesu 'n aberth i'w câs wyneba.

Dygodd ei Groes, mewn loesion—a gwyw nerth,
Trwy gynorthwy Simon,
I lanerch gwnai'i elynion—ddynodi,
Am yno ei rhoddi mewn *arwyddion.*

A ched'yn cyn ei chodi,
Y lluniwyd hon yn llun T.

Weithian, dim ond creulondeb—a erys,
Yn oriau'r trychineb;
Och! swn a chasineb—nwydau aflan,
Gwywodd anian, gan guddio ei hwyneb.

Arno *gwae* dŷr yn gawod,—mae hoelion
A milwyr yn barod;
A beth fy enaid sy'n bod,
Ond ernes trymach dyrnod.

Ei ddwylaw, a'i draed yn gwaedu,—'i wisgoedd
Ar wasgar o ddeutu,
Ar y llawr—mae'n wawd i'r llu,
Wedi osod—dy Iesu.

Ond dynion ac hoelion celyd,—pob briw,
Dial ac edliw, a dwylaw gwaedlyd,
Neu y Croesbren,—cur ei yspryd—gwanhau
Wna'u tueddiadau at ei ddywedyd.

Ar ol eu hanwar, erchyll greulonwaith,
Yn rhythu'r hoelion, mwy aruthr eilwaith,
Dacw hwy'n dyrchu, i fynu'n gyfanwaith
Iesu, yr anwyl, a'i Groes, ar unwaith;—
Llywio'r Groes â hyllig raith,—mewn mantais,
I'w throi i'w mortais, a thrymhau 'i artaith.

Ar Groes afrywiog yr iasiau'i friwiau;
Trwy'i esgyrn noethion, troes geirwon aethau;
Olion hyllion, doluriol linellau;
Ei waed dyredol lanwai'r toriadau;
Ond tra'n eithaf triniaethau—uffernig,
A naws fel oenig, ni syflai'i enau.

I'r groes y rhai gurasant—yr hoelion,
Ef eiriolai'n bendant,
Am i Dduw roi maddeuant—o'r weithred.
Er annocthed ysgelerder wnaethant.

Angeu Iesu, arddangosol—i bawb
Wrth borth gorllewinol
Y dref oedd, ond rhyfeddol—y treiddia
Balestina, fel rhyw bla estynol.

Cynull wnai'r adeg hóno,—bob rhyw drem
O Caersalem ar awr y Croeshoelio;
Gwragedd anwyl yn wylo—ar y drum,
Ac at ei ystum yn llygad dystio.

Ei fam anwylaf yma,—mewn trymder,
Ac wele lawer o Galilëa;
Eu dirfawr gwyn o'r dyrfa,—o'i blegid,
Yn ddrych o ofid, a ymddyrchafa.

Paradwys syrthiodd mewn pryder;—y mawl
Gymylwyd dros amser!
Holl Feibion Gwawl, seiniawl sêr,
Bu trostynt ryw betruster!

Trwy 'r fro ëangol, fewnol drigfanau,
Yn araf hedent, aneirif fodau,
Hyd nes cyraedd y dinasog gaerau,
Ac yn lluoedd, ar eurog ganllawiau,
Arosent, angylaidd resau—'n gwylied,
Diweddu'i ludded, a'i ddialeddau!

Sant a Seraph yn craffu,—pob telyn,
Pawb ataliodd ganu;
Ac maent tua'r ddaear ddû,
Oll i gyd yn llygadu.

Wedi'r osteg o dristyd,
Gan y gymanfa i gyd,

Cymelliad, cydsyniad sy
I Gabriel hedeg obry,
I edrych sut ymdrech sydd,
Ar y Pren, lle mae'r Prynydd,
Ei hunan, tan ddyrnod hyll,
Daear, ac Uffern dywyll.

Gyda'r alwad, y Genad i'w gweini,
Pwyntio wnai 'i wyneb, a hwnt uuioni,
Heibio i ryw fydoedd heb rifedi;
Ei wib ar unwaith wnai trwy wybreni;
Pasio haul heb sylwi,—a phob planed,
A gwneud i waered, am genadwri.

Gan orlewychu gwên awyr lachar,
E'n ebrwydd ddeuai, adnabu'r ddaear;
Ond heddyw halogwyd y wedd liwgar,
Yr hon oedd iddi'i siwrne ddiweddar;
Iselodd ef, sylwodd ar—ei thrist fodd,
Tywyll ei gwelodd, tan fantell galar.

A thrist, dyeithr ei threm,
Grisialog awyr Salem;
Heb awel oer bywiol wynt,
A mad adar mud ydynt;
Yn mhob parth, gan y tyrth tew
Cyd-hiliant y coed olew;—
A Mab Gwawl, hyfawl o hyd
Yn ei wagle cadduglyd,
Arosodd uwch yr Iesu,
I'w wel'd Ef, trwy'r cwmwl dû,
Yn ei ingau yn honginn,
Yn nghanol y Dwyfol dân;
Yn mhoethder, dyfnder y dig,
Llid a gwawd melldigedig.

Wele 'i ofid a'i lafur,—yn ngolwg
Engylaidd greadur:
Ond gwel'd enaid ei gur—digyffelyb,
Heb ofn, ni etyb, ei ëofn natur.

Oddiwrth y Groes, a'r dwfn loesion,
Troes amgylch ogylch ei olygon,—
Gwelai uffernig alon—yn gwibio,
Miliynau dano 'n mileinio dynion.

Fe wel o Annwn hen Ddiafol yna,
A thorf filain ddarfu wrthryfela,
I wneud drygfyd yn ei ddedwydd drigfa,—
Rhag y Da Angel, yr euog dienga;
Tan hug o drwm gaddug, draw ymguddia;
Y tro ehud, y balchder, a'r traha,
Yn y Nef, ef gofia,—ac i eigion
Affwys ei anfon, pan ffoes o Wynfa.

Gan y Dû Angel, er ei gyndyngied,
Am oriau'r Hoelio, mawr a hir wylied;
Awr y gelyn, fel hyn pan gyflawned,
At Iesu'i hunan, i'r fan ragderfyned,
Llengau'n ebrwydd gollyngai hen Abred;
Awyr Iudea gan nifer dûed;
Y Ddraig gynddeirioged,—a'i hiliogaeth,
Drwy 'i holl lywodraeth, yr hŷd a'r lledred.

Tyrai, ymwriai, teirw mawrion—aflan,
A dieflig ellyllon,
Yn yr enyd danllyd hon,
I guro'i enaid gwirion.

A Deddf yn llawn digofaint oedd—yn d'od,
Fel deg o bistilloedd,
Arno hefyd o'r Nefoedd,—fel Meichau,
Y dirif feiau, euog dyrfaoedd.

Un dafn o'r digofaint dû—a'i gynwys,
Ddisgynodd ar Iesu,
Yn grwn, y byd dan grynu,—o'i blegid,
I lawr lwythid, gan faluriol lethu.

Ond holl bwys ei chynwysiad,—ac eithaf
Fygythiol arllwysiad,
Neu lid hon o law y Tad—
Daliai Ef y dylifiad.

Canys ei fraich fu'n cynal,
Dan ddyndod, Duwdod yn dál.

Yn yr adwy y gwnaeth union rodiad.
A'n hanwireddau arno'n un rhoddiad;
A'i Dduw o'u hethryb mewn ymddyeithriad.
Ei wyneb gwiriai, rhag Mab ei gariad;
A bod heb wyneb y Tad,—pan brofodd,
Gorisclodd holl warth ei Groeshoeliad.

Ato er eithaf holl anturiaethau,
Gallu'r Diafol, gynllwynol gynlluniau,
Ei wyneb callestr bylai'i bicellau,
Yn ol nes tröent, ei lawn ystrywiau,
Yn ei ben yn hunan boenau,—bythol;
O awr weithredol y garw ruthriadau.

Yn yr archollion er eu herchylled,
Dynol natur, dan ei dolur dalied;

Trwy y gewynau'r hoelion tra'u gwâned,
O'r hyll oddef, a dyfnder y lludded,
Wedi'r holl waed a golled;—gan lefain,
Cynwys ei ochain oedd cwyno syched.

Yn nerth ei ddwylaw, wrth y ddwy hoelen,
Garw y gwynegai! y graig yn agen
Holltai o'i herwydd, holl wellt daearen,
Y dagrau wylent, a digiai'r haulwen,
Am y gwaith, dirmygai'i wên—ein byd drwg,
Tynodd o'i olwg ac aeth dan ddulen.

Y boreu bu fel berw bair,
Cododd o eurog gadair;
A'i ffordd wnai i ffwrdd yn ewybr,
Draw o'i blâs, hyd ei lâs lwybr,—
Siriolai, a gloywai'r glŷn,
Gwenai ar bob eginyn;
A'i enyniad o'i nenawr,
Uwch, uwch, daeth i'r chwechcd awr;
Arosodd, O! O! resyn!
Ochai pan daeth uwch ben dyn,
A'i law yn ngwaed ei Lywydd!
Gwylliai'i dân, rhag llywio dydd.

Daear den ydoedd mewn dirdyniadau;
Angeu'n orfodol yn nghynyrfiadau
Cryndod ei cheudod, a'i hymdrechiadau;
Mawr lu a gollodd o'i marwol gellau;
Y Cyfryngwr, cai'i fawr ingau—brwydrol,
Ddechreu niweidiol i'w ddychryniadau.

Pan y gwelodd y Cwpan i'w gwaelod,
Hefyd, a goddef yfed ei gwaddod,

Bloedd ddirfawr, yn cyhoeddi 'n gwbl *ddarfod!*
A dórai drwy holl ddyfnderau 'i drallod;
Y gair hwnw, gorhynod—fu 'i effaith,
Bro annobaith mewn braw a wnai'i wybod.

Dan warth, i abred yn ol—ymwylltio,
Fel mellten wib blymiol,
I'r dufwg, a wnai'r Diafol—mewn gwaeau,
A'i holl lengau yn gydymollyngol.

Ac ar eiliad, pan gurai 'i elyn,
I lawr yn darfol i'r hen derfyn;
Gabriel yn chwai, ymgodai ged'yn,
I Baradwys, ar ewybr edyn,
A'r hanes, er enyn—newydd ganiad,
Byw, heb ataliad, ar bob telyn.

A phan ddywedodd 'Gorffenwyd,'—y Ddeddf
Lawn o ddig lonyddwyd;
A'r dyoddef, tra'r anrhydeddwyd—hi,
Llawer o dani yn llwyr a dynwyd.

Yna i angeu gostyngodd—ei ben;
At ei boenau plygodd;
Mewn siriol, orchfygol fodd,
I farw, Efe a ŵyrodd.

Ac yn niwedd ei olaf egnïon,
Yr oll o giliau ei ddrylliog galon,
A ddyredai, aethai'n groenfa weithion,
Yn ei fynwes, nes i un o weision
Rhufeinaidd anwar, ëofnaidd ddynion,
Y bilen gyffwrdd â blaen gwaywffon,
Nes daeth cynwysiad hon—yn ddwfr a gwaed,
Llifai'i ruddwaed, hyd ddwylaw'r llofruddion.

A gwir effeithiol, drych ei gorff weithian,
Yn nwylaw Angeu, yn marwol hongian;
Y dorf o'i ganfod a orfu gwynfan;
Yn y tewyllwch, mellt wibient allan;
A'r hynod Ior mawr ei hunan.—obry,
Gyda hyny, oedd yn ysgwyd Anian.

Swn yn awr adseinio wna—hyd y môr,
A chlyw 'Tabor, ac uchel ateba;
Llawr Sidon oll arswyda,—bu cryndod,
I bau Herod, a rhyd Bethabara.

A gwelaf i waered o Galfaria,
Yn duo'r bryn, i'w derfyn, y dyrfa,
Acw, ar anferth effaith y grynfa!
Wedi y rhyfyg, yn eu pendrofa;
Minteioedd yn myned tua—'r pyrth yn ol,
Euogrwydd ysol a'u gorddiwesa.

Ac uffern i Caiaphas,
Yw heno, adgofio'i gâs;
Yn y Deml, er dychryn daeth,
Rhwyg a sŵn, a'r gwasanaeth
Heb hauer ei ddybenu,
Yn y fan ei adael fu;
Y Llen fawr, ddillynaf wê,
Dernyn penaf cadarnwe,
Dwbfur o glyd befrawg wlan,
A'i hasiadau fel sidan,
Yn ddwy gwahanai'n ddioed,
Llen gywrain, tri'gain hŷd troed,
A thros un droedfedd ei thrwch,
Y garw drwst grëai dristwch,

A gwaedd ddwys, rhoe'r olwg ddû
Waed Offeiriad i fleru.

I'r Iuddew 'n awr arwydd wnaeth,—diddymiad,
Neu ryw chwaliad yn yr Hen Or'chwyliaeth;
I'w olwg y llen helaeth,—ar un tro,
Ymrwygai hóno, a'r mur gwahaniaeth.

A'r Cenedloedd, rai oeddynt,
Yn gaeth ac estronol gynt,
A ddeuant fel Iuddewon,
Yn gymwys i eglwys Ion;—
Gwedi hyn dim gwaedu hâd,
Newidiodd yr Enwaediad;
Y dŵr, yn y Bedydd, daeth
Yn arwydd Iachawdwriaeth.

Cymwys offeiriad y cymod—fu'n dál,
I lynu'n ddyfal yn un a'i ddefod;
Dysg gaiff, diosg ei effod,—a nesu
Yn enw Iesu, 'r hwn mae Duw 'n ei osod.

Afreidiol y geifr ydynt,
Aner ac oen, y rhai gynt,
A roed i fod, a rhaid fu
Wrthynt, iddeu haberthu;
Caed *un aberth*, fwy gwerthfawr
Na holl lesg aberthau'r llawr;
O'i blaen pob sylfaen a syrth,
A lleibiodd yr holl ebyrth;
Gwaedu, aberthu ni bydd,
Ar ddwylaw yr addolydd.

Olew nac anifeiliaid,—y cyllyll,
Nac allor y Lefiaid,
Yn nhrefn addoli ni raid;
Gwaed yr Oen geidw'r enaid.

Maint ei aberth, mae'n atebol—i Dduw,
A'i gyfiawn Ddeddf fanol;
Pêrarogl yw'n pur eiriol!
Mae'n IAWN—nid oes dim yn ol.

At ei holl ogoniant a'i allu,
Fel o'i hunan yn Dwyfol hànu,
Oddi isod caed i'w addasu,
O gnawdoliaeth ei egwan deulu;
A'u dyled mawr gan dalu,—ymroddodd
Ef o'i wirfodd, eu cosp gyfarfu.

Ei waed yn ol i Eden,
I'r pryd y bwytawyd o'r pren,
Lifai'n rhinweddol afon,
Iawn i Dduw, unionodd hon,
O Adda bob camweddiad,
I'w holl etholedig hâd,
Wrth ofynion union Nef,
Hyd ddydd dû ei ddyoddef.

A'i haeddiant y'mlaen gyrhaeddodd—bob oes,
Tra bo byd effeithiodd;
Y gyfiawn Ddeddf a gafodd,
Un Aberth byw wrth ei bodd.

Y gwerth ddaw o groth haf—y mil blwyddau,
Yn y dyddiau hyfrydlon diweddaf;
Talodd tros y sant olaf—ynddo gred,
Rhyddhäai o ddyled rai oedd eiddilaf.

I'r achos ddangos yn ddû,
Gosod wnaed gydag Iesu,
Ladron, dau ddilywodraeth,
I'r un gosp eu bwrw'n gaeth;
Ond tra y poenai'r trioedd,
Ei fawr râs dyferu'r oedd,
A'i rinwedd yr awr hóno,
O'r ddau leidr i'w arddel O,
Enillodd un yn hollol—
Gweddi wnaeth, ac iddo'n ol,
Iesu a'i gwnai'n ddangoseg
I'r wlad gu, a'r teulu têg
A wybu dderbyn Aberth,
A Iawn anfeidrol ei werth;
Fel un arwydd flaenorol,
O ddi rif luoedd ar ol,
Yn seren yn wybren Nef,
Hen leidr ai'n loyw adref.

Er cyraedd gwrthddrychau'r cariad,—ein Ner
A wnaeth ei gynlluniad,
A thry wrth ei arfaeth râd,
A'i sail yn y Croeshoeliad.

Gwna i gysglyd fyd gyfodi—o hir
Orwedd mewn drygioni;
Y dirion genadwri—yn ddibaid,
Enill ddeiliaid yn llu i addoli.

Yn myd o elyniaeth y mae dylanwad,
Yn creu sylw yn sŵn y Croeshoeliad;
Diau, ei anian fedd ryw atdyniad,
I grynhoi daear dan y gwrandawiad;

Y dyn gwyw, marwol, (dyna'i gymeriad,)
Ni ddeil yr hanes, na'i ddû olrheiniad,
O'i aml wagedd, amlygiad—un amser,
Amgen ni arfer nag ymgynhyrfiad.

Un fain uwch ei baban ni fu—a chân,
A'i chynwys am Iesu,
Heb i'r sŵn yn ei bŷr sû,
Weithio'n wir i'w thyneru.

Wele weithion y proffwydoliaethau,
Yn llawn hefyd i gyd, a'r cysgodau,
I ben a'u trefniant y daethant hwythau;
Yr Haul cawn allan ar ol canwyllau,
A chyd a'i lewyrchiadau—dadlenodd,
Agos y dododd y gosodiadau.

Dirgeledig dreigliadau—olwynion,
Arfaeth Duw union hiafaith ei doniau;
Trwyadl y llywient dröau—gelynol,
I briodol gyflawni'r bwriadau.

I ddal adail ddirgelaidd aelodau,
Ei gorff gwna'r hoelion lyfnion golofnau;
Drain gerwinol wnant eirian goronau,
Ac olew oesol dyfera'r cleisiau;
Ei Waed a'i ddyoddefiadau—roddasant
Yr Iawn a'i Haeddiant yn eu rhinweddau.

Digon er dïeuogi—yr enaid,
Yw'r Iawn, a'i gymodi;
A digon i foddloni—cydwybod,
Digon i Dduwdod, ac Un i'w ddodi.

Erbyn agor arbenigion—afrif
  Cyfrol daearolion,
Ceir canfod y prif gyfnodion—rhyfedd,
Ynddo ymorwedd yn ddyddiau mawrion.

*Dydd o Greu*, a *Dydd y Groes*,
I Iesu, ddarfu eisoes;
Yn ol, mae Dydd Digter Naf,
Neu *Ddydd y Farn Ddiweddaf;*
*Tri Dydd!*—ond rhaid yw addef,
O'r *tri*, i hynodi'r Nef,
Y *mwyaf un*, dyma fo,
Diwrnod, a'i nod dû arno,—
*Pwyo Piydd pob bywyd*
*O dir y byw, i gadw'r byd!*
Pwynt tragwyddoldeb pell,
Iddo 'n llawn oedd yn llinell.
  Ac i'r Farn wedi'r Barnydd,
A dolef dd'od, olaf ddydd,
I lawr ar gwmwl eirian,
A'r byd, pan ei dyd yn dân,
A gaduel hwn gyda'i lu,
Yn annwn i enynu;—
Yn wledd, ac yn rhyfeddod,
Yn binacl hardd, yn ben clod,
I ganu, ac i gynal,
*Grâs o Dduw, a'r Groes, a ddal!*

# EFFEITHIAU Y CROESHOELIAD.

"*Hyd y dydd y derbyniwyd ef i fynu, wedi iddo trwy yr Yspryd Glân roddi gorchymynion i'r apostolion a etholasai.*"

WEDI i'r tywyllwch cauedig wasgaru,
Ac anian ymddangos o'i gwisgoedd galaru,
A dorau y nefoedd yn llydain ymagor,
Nes neidio i ryddid eu tanllyd garcharor,
Yn ddysglaer ei lewyrch ar fronydd Iudea,
A'i belydr yn chwarae ar fôr Galilëa;
Dychwelai'r awelon tros fryncyn Golgotha,
Gan ymlid y nifwl, dynoethent ei gopa,
Dangosent o'r neilldu, yn gymysg â'r olion,
Dan draed, yn fathredig, y drain a fu'n goron,
A'r croesau'n bilerau darluniol o brudd-deb,
I fynu osodwyd gan ddwylaw creulondeb,
A Ioseph, i'w freichiau, yn gorffyn gwywedig,
Yn derbyn, o'r canol, ei Grist Bendigedig.

Pêrarogl, a lliain, pan ddygai'r Dysgawdwr,
Cychwynai yr arwyl tua rhan y Cyfreithiwr;
Pan droes y creadur i'w Grëwr yn elyn,
Y ddaear agorai ei mynwes i'w dderbyn;

O guriad y ddrychin gan Angeu ca'dd gysgod,
I wella'i archollion, Yspyty fu'r Beddrod;
A lleni tywyllwch, ei gorff os cysgodant,
Ehedodd ei enaid i wlad y gogoniant;
Trwy'r Nefoedd ar amnaid effeithiai'r dyfodiad,
Ar anthem y teulu y pery'n gyfnodiad;
A'r ddinas odidog enynai'n orfoledd,
Cymanfa angylaidd amgylcha yr orsedd,
Yn fuan cyferfydd, gan ffurfio pwyllgorau,
Anfarwol breswylwyr grisialaidd ororau;
Yn gyntaf, dyfrysia melltenawg genhadaeth,
I waered i'r ddaear i wylio'r ddynoliaeth,
Ac arall, tu allan i furiau perl Gwynfa,
I ddysgwyl pelydrau'r frenhinol esgynfa;
Yn nesaf, porthorion osodwyd yn swyddol,
I agor, ar amnaid, y drysau tragwyddol.

A'r Nef, pan arddulliwyd yn llawn par'toadau,
I'r ddaear danfonwyd ar frys, agoriadau,
Awdurdod, a gwarant dan arwydd Dwyfoldeb,
I chwilio carchardy tywyllaf marwoldeb;
Ond weithion, mae'r enwad i'r Bedd yn anaddas,
Fe'i troes ei Drwyddedydd o Garchar i Balas;
Os cánaid y lliain, os peraidd yr aloes,
Eneiniawl warogaeth i'r Iesu wnaed eisoes;
Gwnai'r bedd yn orweddfa esmwythach na'r llĩan,
A'r llwch yn bereiddiach na'r aloes ei hunan;
Ac ynddo pan cysgai, yn dawel ei hunell,
Y boreu'n blygeiniol, agorwyd ei 'stafell,
A'r bedd a adawai, i'w deulu i orphwys,
Yn peraidd arogli, o flodau Paradwys.

Yn angeu i angeu, er llawn fuddugoliaeth,
Yn esmwyth diengodd o afael Marwolaeth,

Gan edrych am helynt ei weinion Ddysgyblion,
Pan gyntaf amrantodd i'r byd ei olygon.

Yn awr, ei ganlynwyr wasgarwyd yn lluoedd,
Rhai ymneillduent i anial fynyddoedd,
Ac eraill a rodient o amgylch y llynau,
Lle rhodiodd ei Hathraw, lle gwelsant ei wyrthiau;
Minteioedd esgynent hyd ael yr Olewydd,
A geiriau y Proffwyd adgofient o newydd:—
Yr ofn, a'r daeargryn, yn nyddiau Uzia,
A holltiad y mynydd dan draed y Messia.

Ymhoffent y llwybrau y rhodiodd yr Iesu,
A'r man yr eisteddodd i'r dorf i bregethu,
Ar gyfer y ddinas, mor wympaidd yn sefyll,
Ar ddyddiau'r aberthiad, yn orlawn o bebyll;
Ei lethrau cysgodai y gwinwydd pêr ffrwythlon,
A'u brigau chwareuai yr araf awelon;
Rhag gweled y ddinas, gorchuddient eu llygaid,
O ethryb creulondeb a thrais eu Penaethiaid,
Yn dal, yn traddodi, yn barnu yn euog,
I ddedryd marwolaeth, eu Proffwyd gallnog;
Eu llef a ddyrchafent, a'r bryn yn adseinio,
Gollyngent eu dagrau i lawr i'w eneinio.

Yn wirion y crwydrent, am ddyddiau mewn trallod,
O'r diwedd, yn ddirgel, neillduent gyfarfod,
Mewn anedd dylodaidd, ar duedd Bethania,
Yn agos lle trigai Mair dduwiol a Martha;
Ac yn y gyfeillach, cymysgent eu profion,
Medd rhai, bron a suddo dan bwys anobeithion,
"Pwy etyl y dagrau? Pwy baid a galaru?
"A'n Hathraw, a'n Harglwydd, mewn bedd wedi'i gladdu?"
"O nagê," medd eraill. mewn ffydd yn fwy cryfion,
"Yn wir fe gyfododd, fo'i gwelwyd gan Simon."

Ond yn y cyfamser, tra daliai'r ymddyddan,
Y safai 'n y canol yr Iesu ei hunan!
Ei wyneb tanbeidiai ogoniant atdynol,
A syndod effeithiai ei lifrau ysprydol;
Ni phwysai'i gnawdoliaeth, ni thrystiai'i gerddediad,
Cyflymach nag amser y gwnai ei symudiad!
Ni syflai y drysau wrth iddo drwyddedu!
Ymddangos ar unwaith a wnaeth, nid dynesu!
Dangosai 'n ei ddwylaw, a'i ystlys, yr olion,
Lle gwanodd Rhufeiniaid y bicell a'r hoelion;
Rho'i wyddfod ar unwaith bob calon i losgi,
Ac wed'yn, ar aeliad, o'u canol a'i golli.

O wlad y marwolion, ar ol ei ddyfodiad,
Fel dyeithr i'r ddaear y gwnaeth ei arosiad;
Yr yspaid gan angeu bu'i gorff mewn cadwyni,
Ymwelodd ei enaid a gwlad y goleuni;
Ond wedi cyfnewid y ddau i'r un urddas,
Y cwrddent i rodio yn nullwedd y deyrnas;
Tra'n y byd yr arosai, i'r byd bu'n guddiedig,
Ond weithiau i'r eiddo, gwnai'i hun yn weledig.

Yr awr i ymddyrchafu, pan ato dynesodd,
Fel hyn, a'i gyfeillion drachefn yr ymwelodd,
Wrth gulfôr Tiberias, a Simon mab Iona,
A'r rhai a'i canlynent, un nos yn pysgota,
Ac wedi ymboeni trwy'r nos, yn ddiffygiol,
I'r lan a dynasent y boreu'n blygeiniol,
A gwelent yn sefyll, i'w dysgwyl eu Hathraw,
A thân wedi gyneu, yn galw i giniaw.

O! ryfedd arlwyaeth! ôl dwylaw y Duwdod
Yn tóri y bara, yn darpar y pysgod!
Ac wedi 'u gwas'naethu, a phawb gyfranogi,
A derbyn adnerthiad, archebai gyfodi,

I deithio o honynt trwy'r wlad a'i phentrefydd,
I'w gwrddyd yn nesaf gerllaw yr Olewydd.

Gadawent eu rhwydau, a gwnaent eu dyfodfa,
I'r man rhagluniaethol, at amser yr oedfa;
Ac wedi cyfeillach am yspaid garedig,
Dilynent eu Blaenor i'r bryn cysegredig,
Lle breiniwyd y ddaear unwaith â chyfarfod,
O ddynion, a seintiau, o engyl, a'r Duwdod!

I hebrwng eu Hathraw cynullai'r Dysgyblion,
I weini i'w Brenin i lawr daeth Angelion;
I'w ddilyn i'r ddinas, daeth llawer o Seintiau,
Gyfodent o'r ddaear pan rwygwyd y beddau;
Daeth Tad y Ffyddloniaid, o ogof Machpela,
A llawer hunasant yn naear Iudea;
O feddrod y tadau gollyngwyd y Salmydd,
I fythol ddigrifwch, yn nefol ganiadydd;
Er aros o'r dyrfa am ddeugain o ddyddiau,
Cyn newid y ddaear am nefol drigfanau,
Rhy anhawdd eu canfod, i lygaid daearol,
Ar ol eu cyfnewid yn fodau ysprydol;
Yn unig eu Harglwydd a welai'r Dysgyblion,
Yn dyrchu ei ddwylaw i ollwng bendithion,
Cyn myned a'u gadael, fel wyn yn mysg bleiddiaid,
Ei eiriau dyferai fel gwin i'w anwyliaid;
Dywedai, "I'ch cadw, mai im' oddi uchod,
Ar Nefoedd, a Daear, ac Uffern, *Awdurdod*."

Hyd eithaf y ddaear dewisai hwy'n Dystion,
I ddechreu yn Salem, a'i gwaedlyd drigolion;
Yn nerthoedd yr Yspryd fel hyn eu gwasgarwyd,
Iddynt hwy ymadroddion y Groes ymddiriedwyd.

Er anfon gan Pilat i Rufain, yn swyddol,
Draddodi yr Iesu i farn, yn ddedfrydol,

Am gabledd a therfysg, i oddef Marwolaeth,
A'i osod gan Cesar ar leni Hanesiaeth;
Wedi i'r cofnodion o Rufain ddiflanu,
A bysedd canrifoedd i ddymder eu crafu,
Blwyddolion Paganiaeth o ffaith y Croeshoeliad,
A gwyrthiau'r Gwaredwr, a ddaliant draddodiad;
Ond wedi'r â'i dystion, yn rhai dirmygedig,
I fysg y Cenhedloedd a'u Crist Croeshoeliedig;
Rhag haul, fel y cilia pob nosol lewyrchiad,
O flaen eu tystiolaeth diflana traddodiad.

Ac wedi traddodi ei *gyngor*, a'i *fendith*,
A gadael ei *dangnef*, ar ddiwedd ei ddarlith,
Heb gorwynt na tharan, ymgodai o'r canol,
Gan nofio'r goleuni awyraidd yn raddol,
Uwch ben yr Olewydd, tra'n para i esgyn,
Ymffurfiai goleuni yn gwmwl i'w dderbyn;
Mor gryfed y goleu, ni ddaliau'r Dysgyblion,
Y llygaid a ballent oedd eisoes yn wlybion;
Fel awel gadawai'r ëangder gwyrddlasol,
A'r rhai a hunasant yn osgordd urddasol;
O amgylch adseiniai y lluaws Nefolion,
Ganiadau cynhwynol bro'r pur delynorion:
Tambeidiach pelydrai'r awyraidd orymdaith,
Na miloedd o hauliau yn codi ar unwaith;
Mor bur yr olygfa, y bydoedd wybrenol,
Ymunent i'w gyfarch yn gyngherdd blanedol;
Dysglaerder gogoniant canfyddid gan engyl,
A safent, yn wylfa, ar dyrau o beryl,
A dacw, ar aeliad, bob aden yn lledu
Mewn mawl, fod y Brenin i'r Pyrth yn dynesu,
Ac adsain Porthorion yn ateb, â moliant,
"Pwy ydyw y Brenin o gymaint gogoniant?"
Ar hyny y fintai ddyfodol oedd allan,
A'r corau tumewnol ymunent yn gynghan:—

"Y Cadarn mewn rhyfel sydd wedi gorchfygu,
"O Edom, a Bosra, yn dyfod i fynu!
"Mae diwyg ei wisgoedd yn d'weud Buddugoliaeth!
"Ar Ddiafol, ac Uffern, a gallu Marwolaeth;
"Mae'n dwyn yr Allweddau y'nghrog wrth ei wregys,
"Yn arwydd Awdurdod, a Gallu, eu dengys;
"Efe yw y Brenin, Hwn pia'r Gogoniant!
"Y Nefoedd, a'r bydoedd yn un a'i Coronant."

Trwy'r dwyfol drigfanau, ëangder diderfyn,
Y newydd gyhoeddir ar danau pob telyn;
Yn nghanol gorseddlu—i ganol yr orsedd,
Holl glychau aur Salem yn gnul o orfoledd,
Myrddiynau myrddiynau, nefolaidd eu halaw,
Yn mlaen a'i gwahoddent tuag at y ddeheulaw;
I'w gyfarch, y Tad gyfodai yn barod,
Mewn iaith annhreithadwy, fel hyn, i'w gyfarfod:—

"Fy anwyl Fab, ynot mae f'enaid yn foddlon,
"Meddianna yr Orsedd, a derbyn y Goron;
"Yn mhoethder digofaint y gweithiaist dy dd'wrnod,
"Dan lygad Cyfiawnder, wrth reol Cyfamod;
"Yn waedlyd er chwysu, yn ngwres y cyhydedd,
"Y gwaith a orphenwyd, i orphwys cei eistedd;
"Dim erlid ychwaneg, na milwyr i boeri,
"Dim porphor i watwar, na drain i goroni;
"Na neb yn gau-dystio, nac Iuddew mewn dichell,
"Un ysbwng o winegr, na hoelion na phicell;
"Caiaphas ragrithiol, na Philat y Rhaglaw,
"Fy Mab, heddyw eistedd ar fy neheulaw;
"Holl freiniau dedwyddol syrthiedig angelion,
"Tragwyddol fwriadwyd, adlenwi o ddynion,
"I Ddwyfol drigfanau, ëangder difesur,
"Y nifer gyflawnir yn goron i'th lafur."

Angelion, Cerubiaid, Seraphiaid, mewn syndod,
Wrth weled dynoliaeth mewn undeb â Duwdod!
A safent yn dyrfa, a'u llygaid pwyntiedig,
I'r Orsedd, orrifent y dail ar y goedwig,
Gan syllu i'r Undeb, mewn syndod diddiwedd,
Ni wybu eu natur fath nwyd ag eiddigedd,
Yn ngwydd eu Creawdwr, erioed ymhyfrydu
A wnaethant, a'i natur yn destyn rhyfeddu;—
Bu dyn eu dyddordeb, er mawredd ac urddas,
Y seithfed o Adda, a'r proffwyd Elias,
Ond weithian, dynoliaeth a Duw Tragwyddoldeb,
Y ddau yn unedig, fwyhâ eu dyddordeb;
Rhy fyr eu hamgyffred, rhy faes yw eu treiddiad,
I gyraedd dyfnderau y dirgel gysylltiad;
Po fwyaf y syllent, mwy fwy yr hyfrydwch,
A manwl ymchwillo ddyfnhai y dirgelwch.
Gan uwched dynoliaeth yn cael ei choroni,
Ai'r natur angelaidd ar dân i addoli.

Er lledu'r olygfa, er enyn per lewyg,
Eangu'r amgyffred tros derfyn dychymyg,
Tra'r Duwdod yn para, y pery dadblygiad,
Dirgelaidd ddalenau *Effeithiau'r Croeshoeliad.*

Ond fel y Dysgyblion ar ael yr Olewydd,
Yn colli'u golygon, mae *iaith* a *darfelydd*,
Wrth edrych a syllu, i ddedwydd breswylfod,
Y Santaidd Ysprydoedd, a Gorsedd y Duwdod;
Rhaid gadael y teulu a'r perffaith addoliad,
I beraidd emynu *Effeithiau'r Croeshoeliad*,
A gollwng yr Awen, mewn gwisgoedd o alar,
I edrych i gyflwr annhrefnus y ddaear.

O! ddyfnder aflwyddiant pan werthodd dynoliaeth
Ei Heddwch a'i Bywyd, am *Wae* a *Marwolaeth!*

Ar fyd o ddynolryw teyrnasodd euogrwydd,
A rhedodd i'r natur un ffrwd o halogrwydd;
Y Dyn a ymlithrodd, prif addurn crëedig,
Yn ngolwg y Nefoedd yn llestr gwrthodedig,
Oddiwrth ei Greawdwr estronodd ei feddwl,
A'i serch yn elyniaeth, a'i ddeall dan gwmwl;
Mor fawr ei drueni, yn euog dan ddedryd
O'r orsedd gollfarnol,—Maddeuant a wrthyd;
Yn aflan, yn anmhur, mewn llygredd yn soddi!
Yn ymyl y ffynon yn gwrthod ymolchi!
Yn ofer llafuriodd, mewn anial a th'w'llwch,
A'i wyneb ar ofid, yn ceisio dedwyddwch.

Yn gyntaf, anturiai trwy ddyfais *Celfyddyd*,
I foddio ei synwyrau, a lladd annedwyddyd,
Gwnai dyrau, dinasoedd, a phob rhyw offeryn,
I'r glust ac i'r llygad, yn organ a thelyn,
Mewn efydd a haiarn, mewn coed ac mewn cèrig,
Gosododd celfyddyd ei delw'n weledig;
Yn mlaen trwy yr oesoedd yr aeth celfyddydau,
Nes gwneuthur y ddaear yn llawn atdyniadau;
Ac wed'yn, er cymaint eu gwychder blodeuog,
Y dyn a arosai yn aflan ac euog;
Fel cynydd dynolryw, cynyddai eu gofid,
Nes gwneuthur y ddaear yn nyth o aflendid,
Holl ddyfais celfyddyd a brofai'n fethedig,
I estyn *dedwyddwch* i ddyn *collfarnedig*.

Ac yna i *Ryfel*, ymroddai dynolryw,
O heddwch Celfyddyd i derfysg a dystryw;
Y ddaear och'neidiau dan lwyth o drychineb,
A'i meirw 'n ei mynwes a'u gwaed hyd ei gwyneb;
Gwnaeth llawer Unbeniad i ffordd at y Goron,
Trwy lethu Teyrnasoed, a sarnu'r trigolion;

Ac wedi dychwelyd o'r maes yn fuddygol,
A chodi i'w foliant gofadail orchfygol,
A Milton ddarlunio ei gampau gorchestol,
Neu Scott eu cofnodi ar leni hanesiol;
Pan ddychwel tawelwch, gan ymlid terfysgoedd,
Y gwelir mai surion, grawnsypiau rhyfeloedd,
Dilyner en helynt o gwymp cyntaf Abel,
I'r llencyn diweddaf aberthwyd i ryfel.
Pwy 'nillodd yr amcan? Pwy brofodd yr elwch?
Pwy neswyd trwy *Ryfel* un cam at ddedwyddwch?
Tra pery euogrwydd y pery trueni,
Cai'r cyntaf, a'r olaf, ar unwaith eu geni.

Daeth *Cyfraith* a'i hymbrawf at ddyn yn ddilynol,
Gan chwilio cenedloedd i'w ffurfiad dechreuol,
A gosod rheolau, a chosp fygythiedig,
I ateb i'r genedl a'i hansawdd gyntefig;
Er d'od i'w gwasanaeth dalentau Lucurgus,
Hen Athen flodeuog, a Rhufain lafurus,
Eu deall wneud cynllun, a'u dysg ei gaboli,
A gadael o'u llafur eu henw i fytholi;
Ond methwyd a gwella y dynol galonau,
A fwrient eu llygredd fel aflan ffynonau,
Ofer fu yr ymgais, trwy gyfraith a'i phenyd,
I godi dynoliaeth i *Hedd* a *Dedwyddyd*.

O methwyd a chyfraith, gwnaed ymchwil am
*grefydd*,
Dan effaith Euogrwydd Cydwybod a'i cherydd;
Gwaed dynol fu'n rhedeg trwy demlau eulunod,
Creulondeb, a dychryn, yw Crefydd Cydwybod;
Rhoed Cyfraith, Celfyddyd, Awdurdod ac Arfau,
Athroniaeth, a Gwyddor, o dan ei threfniadau;
I sefyll, mae'n gwysio pob dyn am bob trosedd,
Ei brofi, a'i farnu yn euog, o'i gorsedd;

Po fwyaf aberthir, yn iawn i'w boddloni,
Cyneua'i heuogrwydd yn fflam heb ddiffoddi,
Ymgeisio am burdeb, a suddai i lygredd,
A syrthid i ddirmyg wrth ddringo at fawredd;
Defnyddiau *Dedwyddwch*, yn anian *Gau-dduwiaeth!*
Ni chaed ond Trueni yn ddyfnach, ysywaeth.

Pan wywodd pob gwinllan, pan sychodd pob ffynon,
Dynesodd *Anffyddiaeth*, i dywallt bendithion,
Gan herio Dwyfoliaeth, a gwadu'r Ysprydoedd,
Dadgerfio yr Awdwr o gyfrol y bydoedd,
Dirmygu Santeiddrwydd, a gwadu Cyfiawnder,
A beiddio eyfarfod taranau'r Uchelder!
Cyfodi'i hallorau, cyhoeddi ei rhyddid,
I'w deiliaid gyflawni pob math o aflendid;
I'r cnawd rhoi gollyngdod, a rhwysg i'r trachwantau,
A'r galon lygredig wnai'n ddeddf ysgogiadau;
Bu'n mysg Ymerawdwyr, yn benaf mewn cyngrair,
Yn ben athrofaol, eisteddai'n y gadair,
Ac wed'yn ymostwng wnai ddysgu'r werinos,
Gan estyn ei belydr yn nghysgod y ddunos,
Distawai gydwybod, dros yspaid, drwy süo,
Nes tóri taranau euogrwydd i ruo;
Yn ddyfnach i suddo, yn mhwll llygredigaeth,
Dynolryw'n druenus adawodd *Anffyddiaeth.*

Yn methiant pob dyfais i gyrhaedd yr amcan,
Y cynllun datguddiodd *Doethineb* ei hunan;
A'r Byd, yn ddideimlad o'i angen a'i gyflwr,
Fel gwreiddyn mewn sychdir y tyfai'r Gwaredwr;
Y gwylltddrain a'r d'rysgoed orchuddient y lili,
Rhy fawr y tywyllwch i deimlo'r goleuni;
I adfer Dedwyddwch, i ollwng yr euog,
Danfonwyd i'r ddaear, Fab Duw Hollalluog!

Yn wr o ofidiau, yn ddirmyg gan ddynion,
Ac eto Dwyfoldeb danbeidiau'n ei Berson;
Rhy isel ei agwedd, i'r Byd ei adnabod,
Ei eiddo ei hunan wnai watwar a'i wrthod!
Tywysog Tangnefedd, ei alw'n derfysgwr!
Fel caethwas y gwerthent, a chospent, eu Prynwr!
I ddwylaw Rhufeiniaid, cenfigen Iuddewig,
A'i bwriodd i farw i'r *Groes* felltigedig.

Ac felly, datguddiodd Doethineb y cynllun,
Yn ngolwg y ddaear yn wawd ac ysgymun;
O! ddyfnder Daethineb tragwyddol yr Arfaeth!
Un eiddil o ddynion, yn goddef Marwolaeth!
Ac yn y farwolaeth, cael cyflawn adferiad,
I'r natur a suddodd dan wae a chollfarniad;
I godi dynoliaeth o bwll truenusrwydd,
Atebai yn gyntaf, yn Iawn am euogrwydd!
Gan roddi ei einioes i lawr i wneud Pridwerth,
A thywallt ei enaid dros bechod yn Aberth;
Trwy aberth boddlonwyd Cyfiawnder er heddwch,
Ac felly adferwyd y dyn i ddedwyddwch;
Ei *Serch* oedd elyniaeth, â Duw ei gymodi,
A dychwel ei feddwl oedd bell yn estroni
At gynllun y codi;—yr undeb goruchel,
Yn Nuw i 'mhyfrydu, yn gyfaill i'r Angel!
Effeithiai'r Croeshoeliad ei lawn waredigaeth,
Yn newydd, yn gyflawn, yn hardd Greadigaeth.

Pan roddes y Crëydd o'i enau gychwyniad,
I'r ddaear, o'r tryblith yn farwol, symudiad,
Os oedd yr olygfa ddaearol yn ddigon,
O destyn rhyfeddod a chydgan angelion;
Faint mwy a ryfeddant, symudiad bywydol,
Wrth archiad y Duwdod, yn grëad ysprydol;—

Os cymaint gogoniant Effeithiau'r Croeshoeliad,
Ar enaid unigol, faint mwy y canlyniad,
Pan ddengys y ddaear ddynolryw ar unwaith,
Yn gyflawn o newydd, trwy rinwedd yr effaith?
Y môr, a'r ynysoedd, yn llawn o feddyliau,
Trwy râs a gymwyswyd i Dduw yn drigfanau!
Awdurdod, a chyfraith, fydd wedi'u tymeru,
Ag yspryd addfwynder Efengyl yr Iesu;
Lle creulon orthrymder, bydd nawdd ac amddiffyn,
Y brenin a'r deiliaid yn parchu'r Gorchymyn;
Rhwymynau cymdeithas, ni thora gelyniaeth,
A sonir am Ryfel fel gwarth Hanesyddiaeth;
Eirf angeu dinystriol, newidir yn sychau!
A'r ddaear â'r unrhai a erddir yn rhychau!
Yr arddwr llafurus, ni lygra y maesydd,
A llwon ysgeler ac aflan regfëydd;
Ni theimla'r anifail y creulawn fflangellau,
Bydd dwylaw tynerwch yn dál yr awenau;
Y byd anifeilaidd, dan ddynol arglwyddiaeth,
A brawf o fendithion santeiddiol Milflwyddiaeth.

O ynys i ynys, y ddaear feddienir,
A Baniar Calfaria'n ei chonglau pell plenir;
Pêr seinia'r Pereiddlais, lle triga dynolion,
A than ddylanwadau'r Groes a'i hymadroddion,
Gorchfygol at-dyniad i'r deall sy'n dyfod,
Oblegid y deall yw porth y gydwybod;
A'r enaid o'r ddaear, yn sŵn y cyhoeddiad,
Yn gyflawn enilla Effeithiau'r Croeshoeliad.

# IAWN CRIST.

"Yr *hwn a osododd Duw yn iawn.*"

Ein Duw Ion, onid hynod—ydyw Ef
 Pan y daw i osod?
 Yn y gwagle, Efe i fod
 A roes y ddaear isod!

Gosod y tywod o tan—ei weision,
 Gosod yn fur llydan,
 Y dw'r bob tu i'w lu hyd lán,
 A wnaeth Ior yn waith eirian.

Er bod pob gosod a gawn—mor ryfedd
 Yn mhrofiad yr uniawn,
 Eu troi a'i oleu mwy trylawn,
 Megis dim, mae gosod Iawn.

Iawn ytyw, i'w enw yn ateb—yn llawn,
 Mae'n llon'd anfeidroldeb;
Yn rhol deddf 'Tragwyddoldeb—ei osod,
Ydoedd waith hynod Duw o'i ddoethineb.

O Dduw 'i hun yr oedd baniad—y gosod,
Pan gwysiai am daliad;
A'r Mab, neu'r Gair, atebai'r Tad,
I sadio y gosodiad.

Ei ateb Ef, nid heb waed—atebai—
Gwneud dyben ar filwaed,
Yn ebyr ydoedd, a'i bridwaed
Un prydnawn yn gyflawn gaed.

Hir rhoed aros i'r wawr dòri,—a dim
Ond oen i gysgodi;
Ac am *waed* er cymodi,
Buwyd yn ol trwy 'n byd ni.

Ond rhwydd i'r gw'radwydd a'r groes—wele Hwn
Yn rhoi i lawr ei einioes;
Un yw'r Hwn, a'r Hwn a'i rhoes,
I ddal o dan y dduloes.

Yr Hwn, anfeidrol yw rhinwedd—ei enw,
Mae'n ffynon gorfoledd;
*Maddeuant!*—dyma ddiwedd
Ofn, a hwn sy'n dafnu hedd.

Dyndod at Dduwdod, y ddau—wnaent aberth
Atebol am feiau;
Y Nefoedd oll mae'n ymfoddâu,
*Iawn* a wnaed am eneidiau.

Cadarn Waredwr i'n codi,—daeth Ef
Hyd eithafion tlodi;
Ei hun gwnaeth ein Iesu ni,
Oddef cosp ei Ddiweddi.

Ac hyspys yw nad cospi—a ddewis,
Maddeuant mae'n roddi—
Os llwythog, blinderog di,
Daw a stôr o'i dosturi.

Rhagori mae'i drugaredd—o gyfoeth
Ar gyfiawn ddialed;
Ni ddyry i'w gynddaredd,
Gwir hyn, ond dirmygwyr hedd.

Heddyw taer waedda "Tyred—ataf fi,
"Dod dy faich er trymed
"I lawr, achub yr awr, rhed!
"Dyma oriau dy ymwared."

Ei law mae'n estyn ar lêd,—i gynyg
I weinion ymwared,
Rhin a grâs i'r hwn a gred,
Heb rifo beiau pryfed.

Fe rifwyd, efo arafwch,—un tro,
Mewn trefn i wneud heddwch,
Hyn heb len ar ben y Bwch,
Yn oleu iawn a welwch.

Nesai un yn y gwasanaeth—ei ben,
A than bwys Rhifyddiaeth,
I dywyll dir neillduaeth,
Y bwch hwn gyda'r baich aeth.

Ond rhyfeddach y gwnaed rhyfeddu,—Duw
Dad oedd yn gweinyddu!
Heb eu lladd, beiau y llu,
Pasiodd eu cosp i Iesu!

A heddwch bellach gyhoeddir—ogylch,
I agos cynygir,
Ac i bell, ni bu gwell gwir,
Hil Adda wael, wahoddir.

I lawr, Cyfiawnder ar lwch—a edrych,
Gan belydru heddwch;
Yn ngwynt y Groes, draw troes niwl trwch
Anobaith,—at hon wynebwch.

Y Ddeddf wnai edrych yn ddû—i'r ddaear,
A ddywed gan wenu,
"Digon i'm gofynion a fu
"Yn *Nghroes* ac *Angeu*'r Iesu."

Ef yw'r Iawn i lawn foddloni—y Ddeddf,
Oedd aeddfed i gospi;
Minau af i'r un man a hi,
Mae digon i'm dieuogi.

Digon ei haeddiant, gan waeddi—"O Dduw
"Maddeuant dod imi,
"Er ei fwyn," anturiaf fi,
O ganol fy nrygioni.

O'u trallod, dir fod rhifedi—allan,
A'u dulliau heb grychni,
Yn dyiolch am eu golchi,
Drwy glwyf roed ar Galfari.

Anthem yr hen Gorinthiaid,—rai duaf,
Yw rhoi dyiolch dibaid,—
Cofion am *Ffynon* ni phaid,
Na chân am olchi enaid.

# CWYMP IERICHO.

Bu, wedi Israel fyned, bob dosran,
Yn oludog trwy'r Iorddonen ledan—
I Gilgal aethant i gael gwyl weithiau,
A phrofi cynyrch o hoff fro Canaan;
Hwy yno wersyllent ar rôs allan,
Llo gwelent Iericho, gaerog eirian,
A gwrych o balmwydd têg rân—o'i chwmpas,
Muriau y ddinas mawreddai anian.

Yn arweinydd, Iesu, 'r Ion ddewisodd,
Yn lle'r cu Moses, llwyr ei cymwysoddd,
Ag ef rhyw angel dros Dduw gyfryngodd,
"Iericho," am hono y gorch'mynodd,
"Dig gaiff oddef, Duw cu a'i ffieiddiodd,
"Y ddinas trwyddych i ddinystr roddodd,
"Ofn dwys a'i cyfiawn dodd—am fawr wyrthiau
"Duw eich tadau, diau y gwrandawodd.

"Welo eich enyd i'w hamgylchynu,
"Idd ei chwbl ynill ydd â i'ch blaenu,
"Dorf enwog, ddiwyd, arfog, ddidyrfu,
"Caffer wed'yn mewn gwisg offeiriadu,
"A'u cyrn, saith, ar ol chwech waith, i chwythu;
"Ond wedi hyn oll, daw Duw 'n ei allu,
"Gyda'i *arch*, gwedi 'i derchu,—yn nesaf,
"Y dyrfa olaf i gyd ryfelu."

Gair rhad, arbenig yr Ior, derbyniwyd,
Y gwaliau a chwanog amgylchynwyd,
Un tro dyddiol, yn raddol a roddwyd,
Am chwe' dwthwn, ond cyflymach deithiwyd
Y seithfed gwed'yn, fel hyn cyflawnwyd
Seithdro'n rhagor, yn ddidor a ddodwyd,
Ac yna udganwyd—gwnai'r bobl grochsain,
Corwynt o ubain i'r cyrn atebwyd.

Teryll gawrient tu arall i gaerau,
Iericho ollyngwyd i erchyll ingau;
Heddyw minteioedd yn mhen y teiau,
Yn wyllt-dremiol â iasol fynwesau;
Llu diymwared ond lled eu muriau,
Ac ar amrantiad dacw'r mur yntau,
Yn rhoi allan yn ddrylliau—mawr siomiant!
I dybiol leisiant o'r dwbiol asiau.

Cwympai'n drystfawr i lawr yn faluriog,
Y dref trywanwyd gan dwrf taranog;
Ond trais ar hyny ceid tros ei rhiniog,
Drychinebwyr drwy Iericho'n wibiog,
Buan dyrfa o Reubeiniaid arfog,
Llyna'n rhythu ei chellau'n anrheithiog;
Yn meddiant y llu galluog—ymaith
Aeth ar unwaith ei chyfoeth arianog.

Eithr och! yr heolydd, aruthr a chreulon
Ytyw'r golwg ar ddifa'r trigolion;
Trywanu'r henwr truan ar union,
Gwyr, gwragedd, yr unwedd a morwynion,
A'u gwaed yn cau rhigolau, a'r gwiwlon
Faban difalais, gan lais ei loesion,
Yn ei fraw ollyngai'r fron—gwyn ei fyd,
Drwg gledd awchlyd ca'dd drigle heddychlon.

Nid yr Israeliaid wnaent draws reoli,
Ond Duw ranodd bechodau rhïeni,
Yma i'w hiliogaeth, o'n haml wegi,
Dyma adeg y gorfuwyd medi;
Dafad ac eidion difäwyd gwedi
Bywyd dynol, hwy bwywyd o honi;
Chwilio o mewn, chwalu meini—heb eiriach
Neuadd na chilfach, nwyddau na chelfi.

Ar fur y ddinas ceid gwawr furddynol,
Hen daeog anedd yn dô agenol,
Roddes eu bywyd i'r ddau ysbïol,
A gwest heb niweid, trwy gast benywol;
Trwyodd o holltau ei ffenestr ddelltiol,
Yr oedd llinyn, yn arwydd allanol,
I'r fagad arfogol,—dyna'r warant
Achub y tenant, Rachab buteiniol.

Gweddill y felldith, uchel fendithid,
Am y nawdd roddes mwynhaodd ryddid
Efo thŷ Iago, hi gyfoethogid,
A thrwy 'r cyfathrach, o'i llinach llónid
Bro y ddaear, â Mab yr Addewid!
Hi a'i thylwyth o'r adwyth waredid:
Yna 'n union enynid—y ddinas,
Yn dónau eirias gan dân hi yrid.

# CYWYDD

AR

# DDRYLLIAD YR AGERLONG "LLYWYDD;"

Ar ei thaith o Efrog-Newydd i Gaerludd, yn Mawrth, 1841; a Choffâd am JOHN C. ROBERTS, gynt o'r Ddolbach, Llanuwchllyn, Meirionydd, (Cefnder yr awdwr,) un o nifer y trwyddedwyr.

---

In the inquiry before the British consul, June the 5th, 1841, Capt. Cole, of the Packet ship Orpheus, stated that when he last saw the President, on the 12th of March, she was rising on the top of a tremendous sea, pitching heavily, and labouring tremendously. She was then situated in that dangerous part of the Atlantic Ocean, about midway between the Nantucket Shoal, and the St. George's Bank, just where the Gulf stream strikes soundings, and where the waves rise almost straight up and down, and as high as a four or five story house. And farther, that it was his belief that the President did not survive the gale, but foundered with all on board, and all perished before sun down on the 13th, or in less than twenty-four hours after he last saw her, most probably in the terrific night of March the 12th, 1841.

---

OCH! newydd, mwyach niwaid
Iddyf rydd, ei oddef raid,
Goreu gan mai angeu oedd,
Dan ofal Duw y nefoedd,
Tewi cyn d'wedyd denair,
Cyfion ac union y gair,

A roddes i arwyddaw,
I lwch lywodraeth ei law;
Eithr wrth bob rhybudd a thro,
Addas ymostwng iddo.

Yr Ior mawr, ar y moroedd,
Ei lais yn oruchel oedd,
Lluddio taith y Llywydd têr,
Drwy i'w nawf droi yn ofer,
Trechu ei amod tra chwimwyth,
I Gaerludd o gario'i lwyth,
I'w wibiawg, agerawg her,
Dododd amdo diddymder.

Man na modd mynai Ion mad,
Ni wyddis i'w ddiweddiad,
Ond pur genhadau parod,
Ei ddewis fe wyddis fod
Yno, fel yn un enaid,
Tân, dwr, a gwynt, yn dêr gaid,
Tair elfen at reolfa
Y doeth Lywodraethwr da,
I ymwneud wrth amnaid Ior,
A ddywedai yn ddidor.

Pan roes Ef lef, cyflafan
Ar rwysgfawr lu fu 'n y fan,
Ei ddull ar ryw noson ddol,
Welais trwy ddrych meddyliol,
Tremyn oedd, yn trymhau nes
Tóri i fewn trwy y fynwes.

Agerddu'r tonau gwyrddion,
Dros ddeuddydd wnai'r Llywydd llon,

Ar y môr dyrüo'r oedd,
Chwidr adail a chadr ydoedd,
Ni fedd cywrain gelfyddyd,
Un o'i bath ger bron y byd;
Sad ystlysau destl isod,
A gwyneb prês gan bob rhod,
Sïa, brydia'i berwedydd,
Ei mwg dû sy'n dallu dydd,
A chan uchel wreichioni,
Y gwnai'i llwybr trwy ganol lli;
Olwyn a hwyl wele'n hon,
Y daethant yn gymdeithon;
Y gwrdd wynt ag agerdd a
Ymdrech, i wneud cyflymdra,
Ar draws y dyfnderau drwy,
Eu nerthol chwyrn gynorthwy,
Rhwyf hwylio'n rhyw hefelydd,
I ollwng saeth, y llong sydd.

I'w galwadau gwiliedig,
Dynion ei bwrdd heb dwrdd dig;
Iro mae rhai y peiriant,
Felly'i nwyf ei wella wnant;
Porthi y tân sy'n perthyn
I rai, ac eraill ar hyn,
Eto gyrchant i'w gorchwyl,
Gyda rhaff i godi'r hwyl;
Am fordaith mae'u myfyrdod,
Wyr clau, a meddianu'r clod.

Llo glan, ac ystafell gled,
Oddifewn,—wrth rwydd fyned,
Yno cynadla bonedd,
Gwych y gwyr ac iach eu gwedd;

F2

Cron-ford o waith cywreinfawr,
A geid, fel bord Arthur Gawr,
I'w canol hwy cynal hon,
Dwrr o newyddiaduron;
Trwy eu taith cyflwystra têg,
Sy yma am resymeg;
Rhyw led-ddadl ar lywod-ddysg,
Enyn y mae yn eu mysg,—
Pigion Ewrob bob yn bâr,
Efrogion, difyr, hoywgar,
Cyd rodio, ymgomio gânt,
Yn eu neuadd ciniawant;
Tymhoraidd gwnant ymaros,
Chwarae y nawn,—ond chwerw nos.

Enbyd o'r gorllewinbarth,
Lledai gwynt fel llidiog arth,
Rhuthriadau 'n cryfhau o hyd,
Treilliawg ruadwynt rhewllyd;
Yn ddû y wybren ydd aeth!
O ddeutu duodd etwaeth;
Yr eigion cynddeiriogodd,
Hyllig ffrwd, felly cyffrôdd,
Ydoedd fel corff symudawl,
A'i dwrf yn erchyll heb dawl;
Y cur oedd yn cyrhaeddyd,
Gwyr y bwrdd er garw byd,
Bonedd i gyd heb nawdd gwell,
Trwst hefyd trwy'u hystafell,
Ofn dwys, ac i fynu d'od,
I'r dwndwr a'r syfrdandod;
Mor galed eu tynged hwy,
Ydoedd annarlunadwy;
Ton a'u taflai i un tu,
Gwaith agerdd yn gwaethygu,

Beunos gwynt heb hanes gwawl,
Ond tywyllwch mantellawl,
Ynysoedd o rew'n nesu,
Efo'r don, mewn dyfnfor dû,
Ysgwyd wnai'r Llywydd gwisgi,
Fel meddwyn, ar lwydwyn li;
O fôr certh a'i ferw frig gwyn,
Chwyddai orchudd i'w erchwyn!
Ac yn ei rwysg hwn yr aeth.
A'i ledred dilywodraeth,
I gwrdd a'r iâ, cribog hyll,
Nes tòri iasiau teryll,
Yn mhob calon yno'n awr,
Eang dwrf, angeu dirfawr.

Diflanodd pob rhyw obaith,
Byw, a'r llestr yn y berw llaith,
Oedd drom, rhy drom i dramwy,
Môr o'i mewn, dim ond marw mwy!
Diwedd hallt deuodd i'w hynt,
Eu beddau adnabyddynt,
Yn yr eigion ar agor,
Gwelent eu mynwent mewn môr;
Llawer oedd yn llwyr waeddi,
"Y Cyfion Ior cofia ni,
"Maddeuant dod," meddynt hwy,
"O! gwna wyrthiol gynorthwy;"
Un mewn braw'n gwasgu llaw'r llall,
Agor wnai dôr byd arall!
Ton oer, drom, tynai ar draws,
Y Llywydd, a'r holl luaws,
Ar godiad llygad oll ânt,
I lawr i fawr lifeiriant;
Peidiodd eu diaspedain,
Peidiai fel cwympiad o fain;

A'r iesin long a'i thrysor,
Ai fel maen i fol y môr.

Ofer cynyg dysgrifio,
Ar un traith erwined tro,
A chynwys maint trychineb,
Y ddichwaen ni ddichon neb,
Rhwng brodir ëang Brydain,
A thref boblog Efrog gain,
Drylliad, neu ddygwyddiad gwaeth,
Er awr gyntaf morwriaeth,
Ni fu, gobeithio na fydd,
Tra nawf ar wâr y Werydd.

Lledu a wnaeth trallodion,
O hyd wedi'r ddamwain hon;
Ail i darth neu gwmwl dû,
Ar chwif oedd yn dyrchafu,
O Neifion, yn greulon gri,
Distawrwydd heb dosturi,
Fu yn dechreu amheuon,
Llwyr a braw mewn llawer bron,
Ond trwy'n gwlad y torai'n glau,
I ogryn heilltion ddagrau.

Yn yr anedd lle'r unai,
Llawen rês, a dillyn rai,
Ataliwyd rhwysg y tylu,
Dystsw'r fan a dwyster fu:
Rhyw fun wech, araf ei nwyd,
A brudd adroddai'i breuddwyd:—
"Braw noeth," ebr hi, "neithiwr,
"Rhyw gymysg derfysg mewn dŵ'r,
"A welais, dyeithr olwg,
"Y wedd drom mae'n arwydd drwg;

"D'od a newyddion mae'r dydd,
"Golli ar y lli'r Llywydd,
"A'm hanwyl gariad mwynwedd,
"Ofnwyf fod yn ei ddwfn fedd,
"Yn ei bwrdd gwyneb harddach,
"Ni fu un, neu wen fwy iach;
"Onid oedd anffawd iddo,
"Roi'i fryd ar fyned o'i fro."

O hyd y mae'r braw'n mwyhau,
Sigledig ddysgwyliadau,
O un i un diflanynt,
Dim nes i hanes ei hynt;
Ei henwog berchenogion,
Acw'n Nghaerludd prudd pob bron,
Wedi ymholi am hir,
O'i herwydd ymgynghorir,
Os ceir hi byth i sicrhâd,
O bob tyb bu atebiad:—
"Ni ddychwel mwy, ni ddichon
"Ei bod hi ar wyneb ton;
"Ei rhuad mawr, rhôd, a mwg,
"Ei hwyliau oll o olwg,
"Ar y môr fath amser maith!
"P'le'r elai'r pylor eilwaith?
"Taniesid hwn nos a dydd,
"Larwm o niwl y Werydd,
"Buasai, a neb weision
"Yn fyw ar ddw'r neu fwrdd hon;
"Hi gollwyd, d'wedyd gellir,
"Heb byd gwedyd ond y gwir."

A chanu'n iach bellach bydd,
I'r holl lu ar y Llywydd;

Ei wisg aml un ddiosgai,
Am un ddû'i phryd newid wnai;
Ymwisgo i gofio'i gâr,
Gaedd y weilgi ddialgar;
Y wraig am ei gwr hoywgu,
Y fam am ei bachgen fu,
Uwch anaf, yn ei chynal,
Cynar dug, haner ei dal,
A llon wedd i'w hanedd hi,
Ar ol hir deithio'r heli.

Yn Efrog cwynion afrif,
Derch ei llaw at erchyll lif,
Annyddan yw ei oddef,
A'i meib lu'n ei grombil ef;
Nychdod gaedd ei masnachdai,
Llydan rhed colledion rhai;
Llythyron, newyddion, a'u
Harian aent i'r dyfnderau;
Siomiadau am nwyfau'n ol,
Neu nodau derbyniadol.

Am fy nghar hawddgar, o hyd
Minau wyf dan fy mhenyd;
Am fy nghefnder pryderwyf,
I'w gael e diffygiol wyf;
Cefnder llon, ond o'r bron brawd,
Unffurf mewn llwydd ac anffawd,
Dirodres, o gynes gol,
Hynawswr cymwynasol,
Ydoedd Ioan, da'i ddeall,
Medrai fo ymgomio'n gall,
Gohebydd cywir gwiwbwyll,
Cymro heb fyntumio twyll.

Am gysur, pur ddarparu,
Yn Efrog tra bywiog bu,
Sugnodd o fraster masgnach,
Ddafoes wr trwy ddyfais iach,
O'r byd rhan fawr heibio trodd,
Cnewullyn tew cynullodd;
Eto dyfod fel difalch,
Cael clod heb drybestod balch.

Yntef aeth gyda'r fintai,
Ac achwyn wrth gychwyn wnai,—
"Er ei grym, rhoddi mawr gred
"Ar y môr er ymwared,
"I'r llong, am gysur a llwydd,
"Ni fedraf, och ynfydrwydd,
"D'rogan a bostio 'r agerdd,
"Dyna wall, pan daw 'r don werdd,
"I'w hysgwyd, fel peth ysgafn,
"Ar môr os agor wna 'i safn,
"O! waeled ei maintioli!
"Ac un llwnc fydd gan y lli."

Eraill idd ei gynghori,
Ebr hwynt, "un bybyr yw hi,
"Nac ofnwch, buan cefna
"Y môr gan ei rwygo'r a,
"Ar eich hynt bydd difyr chwi,
"Iechyd a llwyddiant ichwi."

Rhwng anfodd a bodd, beiddiai,
O'r ddau'n awr, ei byrddio wnai.

Y Werydd dechreu morio,
Hwnt ei frig wnai tua'i fro;

Unwaith y'nghyffro'i donau,
Rhyw awr, a'r dydd yn hwyrhau,
Rhagwelodd ddaear Gwalia,
Loyw-fro hen mewn lifrau hâ'—
Cael iechyd o hyd yn hon,
O ddw'r ffynonydd oerion,
Addawai ef iddo 'i hun,
Nid egwanllyd ei gynllun;
Hir fwynhau yn lle 'r ofn hyn,
Llon ochles, sef Llanuwchllyn,
Ei ffraethlu a'i thir ffrwythlawn,
A thôn merch wrth ei thân mawn;
Ty ei dad sy 'n y wlad lon,
Beddau hen gydnabyddion;
Cael tremyn ar Ferwyn fawr,
Arenig, fryn arianwawr;
Myn'd ar hyd Llyn Tegid da,
Ar wib eilwaith i'r Bala;
Ond wed'yn breuddwyd ydoedd,
A mwy gwag, dychymyg oedd.

Parotoi yr oedd pryd hyn,
Yn ddiwybod am ddybyn,
Oedd o'i flaen i ddiflanu,
Fel niwl pell, y castell cu,
A luniau draw'n yr awyr,
Adail a sail wrth y syr;
Glanio oedd ei ragluniaeth,
Iddi 'n wir, ond boddi wnaeth!
Gwaelod môr cyn gwel'd Meirion,
Oedd ei galed dynged hon;
Yr angeu a'i hebryngodd,
Diwedd oer, hallt iddo rhodd;
Suddai'n medd dynfedd y don,
Efo arwyl o feirwon.

Fel hyn i derfyn y daeth,
Einioes Ioan, ysywaeth,
Fel hyn o'r byd diflanodd,
I'r byd draw heibio y trodd;
Ac fel hyn y cyflwynir,
Dynion ar don ac ar dir,
I'w beddau, ni wybyddant,
Ai dw'r gwyllt, neu dir a gant,
I orwedd, ddigon llonydd,
Hyd y gadarn farn a fydd.

# Y GAUAF 1830,

## YN NHALAETH EFROG NEWYDD.

---

Wedi hâf newidiwyd hin—er gofid,
I'r gauafol ddrychin;
Deuodd y blwng dywydd blin,
Ddig awel ar ddeg ewin.

Byrach ei lwybr trwy'r wybr wemp,
A rhyw wawl llesg yw'r haul llimp,
Er esgor iâ, dyma dymp,
Mae'i hanfod? Gormod o gamp.

Eira sy'n dô dros ein daear,—gwynodd
Ei gwyneb tiriongar;
Pydrodd meillion gwynion gwar,
Ysigodd y rhos hygar.

Llaesäodd i lawr y llysieuyn—îr,
Oedd orwych ei frigyn;
Rhyw wedd glaf ar wydd y glỳn,
Annhêg yw pob planhigyn.

Bu'r dyffryn yn wyn wenith,—ac aeron
Rhagorol yn dewfrith;
Doeth Fwyndad, caed o'th fendith,
Y fro a'i gwyneb yn frith.

Eithr hâf aeth ar ei hynt—trwy ei gylchdro,
Ac er diurddo blagur darddynt;
Daeth eira tew a rhewynt,—i serchog
Fun anwydog, aufwynion ydynt.

Yr amaethwr ry' im' weithian—osai
A hanesion dyddan;
Gwn, nid ef o gyneu dân,
Heb ei gôb â o'i gaban.

Llo, ebol, y ddol ni arddelant,—dàn
Ryw dwlc y gorweddant;
Defaid, yn hwyr dyfod wnant
I'n buarthau am borthiant.

Rhag effaith hirfaith oerfel,—o'n golwg,
I waelod gwig isel,
Cu edn ffodd, a'r cadno ffel
Megys ych, ymgais ochel.

Cysonedig sain adar—ddiflanodd
O flaenau coed deiliar;
Anian oll, cawn heno ar
Ei gwely, mewn gwisg galar.

O! mor sydyn,
Daeth y flwyddyn
Hon i derfyn,
Hyd ei harfod;
Felly f'amser
Brau, ar fyrder,
Ddaw o flinder,
I ddiflandod.

Y dofion ddyddiau difyr—o'm heinioes,
Mwynaidd im' eu hystyr,
Pan yn iach, fachgen bach byr,
Diniwaid o dan awyr.

Fwyned hwyl, y fynyd hon,
A gaf trwy gofio troion,
Dyddiau ieuengctyd, hyfryd wyl,
Fy enyd fwyaf anwyl;
Hindda, heb groes, oedd ynddynt—
Dyddiau y gân, diddig gynt;
Ond am dro nid arhöant,
Eithr yn ol llithro wnant;
Megys chwarae mae fy myd,
I anghof yn diengyd,
Tebyg ei rediad heibiaw,
I eryr drwy 'r awyr draw.

Nid tycianus, hwnt dacw henaint—llesg,
Yn llusgo 'n annghywraint,
Teithiwr i fyd uthr ei faint!
Eang oror fy ngheraint.

Lled wan, a llwyd ei wyneb,
Gwaelach ei rân yw na neb;
Hagraidd olwg, grudd ddilefn,
Gwanychu, camu mae 'r cefn,
Rhaid dwy ffon er diffynu,
Neu ddal y corff eiddil cu;
Ei fynwes, caeth yw'n fynych,
Ac ar ei drwyn cario drych;
Cwynfan, a methu canfod,
Gwn, ni chlyw ogan na chlod.

I'r babell frau, heb wybod—imi, daw
I breswyliaw heb ruso aelod;
Osb anhoenus, poen hynod,—a'i dilyn,
Ofer erfyn arafu'r arfod.

Nid mwyniant, llwyddiant, a'i lludd—yr unfodd
Trwy wynfyd a chystudd,
I nosol dragwyddol gudd,
Fy amser, fe a ymsudd.

Diameu aeth doe ymaith,—ac heddyw
Tan gaddug anobaith,
Sydd a'i adenydd i daith,
Na welir mo'no eilwaith.

Neud dull y byd oll heb beidio—o hyd
Sy'n chwai hedeg heibio;
Gwagedd, oferedd, yw fo,
Twyll a chnawd, hyll och'neidio.

Yn fy rhan fer o hono—mae anedd
I minau orphwyso,
Y bedd dû, caf, bydded co',
Wanddyn, hir orwedd ynddo.

## ENGLYNION AROBRYN.

## LLESIANT A RHAGOROLDEB CYMDEITHASAU DIRWESTOL.

TESTYN A GYNNYGIWYD GAN MR. ROBERT LL. MORYS, LLYNLLEIFIAD, I'R BEIRDD CYMREIG YN AMERICA, YN 1838.

I haerwyr, da pan heriant—rho'i gwir wel'd
Rhagoroldeb llwyddiant
Dirwest, ac eres lesiant,
Ffloch gymdeithasau ei phlant.

Meddwdod bar hynod anhunedd,—dig ffrwd,
Gyffredin o lygredd;
Swyno'r byd yn îs na'r bedd,
A mawr fâr mae'r oferedd.

Wedi i'r lleidr hyll lywodraeth—daenu
Dinystr a marwolaeth,
Henffych ddawn hoffach, e ddaeth,
I'w ddarostwng, Ddirwestiaeth.

Pwy na wenai pan uner—doethusaf
Gymdeithasau lawer,
Mewn mad orymedithiad dêr,
Beunydd, gan godi baner.

Eu trem aidd-deg sy'n troi meddwdod—o'u ffordd,
Ni chyffyrddant wirod;
Diedliw feib, eu dadl fod,
Mwy o werth mewn ymwrthod.

Eu haml undeb sydd fel iawndwr—arfau,
Mae rhag gwirfol fradwr,
Ynddo'n nghrog, odidog dŵr,
Astalch i bob Dirwestwr.

Rhyw fagad ddaw er arfogi—iddo,
Addas ymgorffoli
At feddwdod, yn ol d'od i
Y tŵr mad, trwy amodi.

I'r gwirf telir, âg arf ataliad—llwyr,
Yn llaw penderfyniad;
Yn erbyn gelyn, a'i gâd,
Wr da estyn—Ardystiad.

Hen Nabal fel hyn wynebir—cedyrn,
Anial Cades, crynir;—
O radd i radd, diwreiddir
Y gwenwyn tost, gwn o'n tir.

Mawr les, yn lle marwol lysiau,—ystyr,
Bydd Dirwestol ffrwythau,
A thus y Cymdeithasau,
Yn pêr arogli ein pau.

Och, alaeth, gwae a chywilydd,—ciliant,
Ac wele trwy'n trefydd,
Gwyneb moesoldeb y sydd,
A golud, gydâ'u gilydd.

Modrwy y dyn cymedrol,—arwyddiad
Yw'r addurn Dirwestol,
O'i dda agwedd ddiwygiol;
Gynt e fu'n gwneud duw o'i fol.

## ETO, AR YR UN TESTYN.

Oer frath yw Meddwdod i'r fro,—baich o ddrain,
Buchedd ddrwg lle delo;
Daear fydd gan ei dwrf o,
Dan ei chnwd yn och'neidio.

Os gwiwfab i'r brwysg a ofyn,—"O moes
Im' ŵy, neu bysgodyn;"—
Wele dad heb deimlad dyn,
Yntau rydd Sarph i'w blentyn!

Daw â'r neidr yn ei wydriad—idd ei fwrdd,
Oferddyn yn wastad;
Ei fab, fel hyn, tyn y tad,
Ar fyr, i'r un arferiad.

Welo aden lwyd tlodi—yn ei ddal
Dan ddwylaw caledi;
Ond llaw onest Dirwest i
Lon ryddid wna'i lawn roddi.

Rhag annoeth ddogn, hir gwnaeth egni—i'w droi,
Gan drwyadl gynghori—
Troi 'r meddwyn, a'i wenwyn i
Ymadael, trwy amodi.

Hon i'r dybenion beunydd,—doeth esyd
Gymdeithasau celfydd
Trwy ein bro, darbwyllo bydd,
Gwyr i adael gwirodydd.

Ol ei throed a'i haml weithredoedd—amlwg,
Wna olwg ardaloedd,
Megys hen Eden pan oedd—
Neu wedd y Mil Blynyddoedd.

Y fam, am ymborth a fu—yn ochain
Yn achos ei theulu,
Medd ddigonedd, er gwenu,
Heb bryd cas, ar briod cu.

Gwên addysg ddaw'n gynyddol,—a moesau
Y meusydd cymedrol;
Gwyr, a phlant, ddeuant i ddol
Y Ddirwest egwyddorol.

Bydd achles i osb, heddychlon—aml ddadl,
Ymladd, edliw, creulon,
Y gwestai cas, gosteg hon,
Mwyn i daith yw myn'd weithion.

Etyl ffysig ddiota,—wele hen
Afradlonydd, mawrdda,
Sy'n d'od at achosion da,
A'i rodd, o galon rwydda.

Daw y dyddiau dedwyddol—i ddilyn
Y ddelw Grist'nogol;
Ffŷ Annghymedroldeb ffol,
Trosto ceir byd Dirwestol.

# ENGLYNION

## I GYMDEITHAS HAELIONUS DEWI SANT, YN NGHAREFROG NEWYDD.

---

UN O DESTYNAU Y GYMDEITHAS UCHOD, ERBYN EI CHYLCHWYL AR WYL DDEWI, 1843.

---

Barnwyd yr Englynion canlynol yn Fuddugol, a derbyniodd yr Awdwr am yr unrhyw Ariandlws, gwerth Deg Doler, o anrhegiad merch ieuanc i Gysbwyllawd Llênyddol y Gymdeithas.

---

O wirfodd, pa ymgynhyrfiad—mawr iawn,
Sy 'n mro cydymdeimlad?
Tros dlodion, llymion, yn llâd,
Cyraedd mae mantell cariad.

Sail un Gymdeithas Haelionus—a roed,
Mae'r adail yn drefnus;
Mawrwaith hardd,—a myrr a thus,
Yw enw Dewi ddaionus.

Enw'r Sant, addurniant sydd arni,—ei waed
Fu'n brydiaw i'w chodi;
A'i feibion, llawn haelioni,
Yw ei haml golofnau hi.

Y gemau eurog yman—yn yr un,
Yw 'n Rhianod seirian,
Herwydd pob un a'i harian,
Ddeil i roi blynyddol ran.

Yn awyr Caerefrog Newydd—y daeth
I'r Gymdeithas gynydd;
Ac yma'i thrysorfa sydd,
Os heibio daw deisebydd.

Ei rhinwedd ydyw rhanu—o'i thrysor,
Wrth yr eisiau'n gwasgu;
Porthi'n rhad, a dilladu,
Yn ein gwlad, angenog lu.

Haelionus law i weinion—a egyr,
Mae'i llygaid at gleifion;
Ond mwy 'u llygaid hwy at hon,
Canys hi wrendy 'u cwynion.

Deil ei chenedl uwch anaf—anghenion,
Yn nghanol y Gauaf;
Atom daw'r awr galetaf,
Ag anerch o gynyrch Haf.

A'i dwy iaith, tros ymdeithydd—eguïa,
Rhag niwaid gormesydd;
O bell, fel gwawl-fynag bydd,
I wawrio ddau du'r Werydd.

Nodded rhydd i Lênyddiaeth—o'i chalon,
A choledd Farddoniaeth;
Tlysau beirdd yn heirdd a wnaeth,
Ei dwylaw, i'n gwlad helaeth.

Anwylaf chwaer cynilwch—yw a chain
Ferch henaf Gwladgarwch,
O'n goror, gyr bleidgarwch,
A llid, i ddyfnder y llwch.

O grefydd mae'n bur ddysgrifiad,—â'r weddw
Pan rydd ei hymweliad;
Am hyn rhydd Ion, dirion Dad,
Ar ein bro iawn wobrwyad.

---

## ENGLYNION

### A GYFANSODDWYD WRTH GLYWED CYNHADLEDD WYDDELIG.

---

Tardda o blant Iwerddon—araeth ddrwg,
Aruthr iawn felldithion;
Galw'r Diawl, ysgeler dôn,
A holl allu'r ellyllon.

Ond hardd, fydd plant Iwerddon—trwy Ddirwest,
Rhydd eiriau newyddion,
I'w geneuau'n ganeuon!
Cyn hir,—dyna amcan hon.

Wedi agor Diwygiad—onid syw,
Gweled sobr Offeiriad?
Nei Fair, yn ferch ddiwair fad,
Neu Badrig, heb ei wydriad?

## TODDEIDIAU,

A GYFANSODDWYD WEDI DARLLEN NEWYDDION DIWEDDAR O'R HEN FYD, YN 1849.

---

Chwyldröawl gyngrair fel pair sŷ'n peri,
I wyneb Ewrob ewynu a berwi,
Hen ysbryd rhyfel yn sibrwd trefi,
A'u troi 'n alanas trwy wyn eleni,
Ymryson, gorthrwm, heresi—amlhant
Yno, a chludant newyn a ch'ledi.

Trigolion gweinion, gwaeant eu geni,
Rhag mawredd a gorsedd, taeog wersi
Garw y traethant, a gyr y trethi
Hwy oll i rwgnach, llawer a'u hegni
Yn chwalu carth, a choel certhi—codant,
Y byd roddant i dân a budreddi.

At hyn mwy adwyth yr haint yn medi,
Distryw anwar, dwys, dwys, y trueni,
Erchyllach na 'r rhyfel yn hau peli,
Y trywaniad, y plant a'r rhieni,
Er eu gwared o'r Geri—'r oll roddent,
O! na ogwyddent at Dduw mewn gweddi.

O'r byw rhy anhawdd i'r bore henwi,
Trwy ofidion gymaint o rifedi,
Welir o ddynion gwiwlon yn gwelwi,
Neu o arw ingol lewyg yn trengi,
Eu lle a'u hanedd cyn nos a'i lleni,
Yn wag ydynt, a hwy gwedi—troi'u grân
Yn eu bro ddu, allan dan briddelli.

## Y GYMRAEG.

Ni chyhoeddir iaith henach heddyw—gan
Genedl o ddynolryw,
Na'r Gymraeg lawn,—gwir iawn yw
G'wedyd, Cyn-bro-aeg ydyw.

Dirlawn ydyw, darluniadol,—addurn
Celfyddyd gynoesol;
I ddychlyn hawdd chwilio'n ol
I'w thyfiad effaith Ddwyfol.

Ei gwreiddiol, fanol, elfenau—ydynt
Natur a'i chwyfiadau;
Trwy wydd caent eu harwydd'cau *a*
Cyn háuiad acen henwau.

Ond henwau roddynt, yna'r wydden—dirf
Mae'n darfod ei dyben,
A dyfais dda'n gwella 'i gwen
I wneuthuriad llythyren.

Ac mewn llythyren fe genfydd,—heb ball
Y pwyllog ddarllenydd,
A *sain* y *meddylddrych* sydd
Aeddfedawl gyd-ddyfodydd. *b*

Rhagoriaeth amlder geiriau—gwiw hòna,
A gwahanol seiniau, c
A'i holl arwyddion sŷ'n hau
Toraethog ystyriaethau.

Addas, cref, rhydd ddysgrifiad—o achos,
Gwrthrychau, neu deimlad;
Ac yn wyll un pwnc ni âd,
Noetha'i wreiddyn a'i threiddiad.

Ystwyth yw heb anhawster—i'w hyngan,
Arddengys ehangder,
Tyb-ddrychau trwy eiriau, er
Twymo a goglais tymer.

Aber ddofn o bur ddefnydd,—a'i deilliad
Er diwallu'r celfydd;
Darpariadau i'r prydydd,
Yn ei mad ddansoddiad sydd.

Ei bogeiliaid tebygolant,—i sŵn d
Cydseiniaid atebant;
Enwau, hoff ferfau, ffurfiant;
Swyn i ni y sain a wnant.

Gwel ranau'r aeg, olrheinier—i werth A c
Wrthi'i hun i'w harfer;
P'le ceir ail ein *bogail* bêr,
O'r rhanau lleinw'r naill haner.

Yr iaith anwyl Frythoniad,—i dy hil
Mewn dihalog gariad;
Ei rhwydd-drefn a'i phereidd-dra,
Dysg hon i'w dysgu i'w hâd.

*a* "Yr athrawiaeth yma o gyfansoddiad ieithoedd a ellir ei chynwys yn y nodiadau canlynol, sef fod dynion yn ystâd foreuaf eu dywylliad, cyn dyfeisio ysgrifenu, yn sylwi ar briodoliadau ac ymddangosiadau nodedig y *prenau* hynotaf a'u cylchynt; a'u bod wedi eu dewis yn ol eu hamrywiol naturiaethau i ddynodi eu hamrywiol ddrychfeddyliau cyffredin, ac i'w harferyd i'r dyben o ledanu gwybodaeth a hofforddiant gyda rhëol a threfn.—Mae deilen neu blanigyn o'r dderwen yn darlunio *lledaniad*, *ëangiad*, neu *ddadblygiad;* a phlanigion neu ddail yr aethnen a arwyddant *symud*, *chwfio*, neu fod *yn anwadal.*"—*Crynoad o holl Elfenau* neu *Gyntefigion y Gymraeg, gan W. Jones.*

*b* "Mae pob un o seiniau elfenol y Gymraeg, yn gystal a ieithoedd gwreiddiol eraill, yn darlunio yn naturiol ryw eulun arbenig yn y meddwl;—Er engraifft, Seinir C drwy osod gwreiddyn y tafod yn gadarn yn erbyn gwreiddyn y gorcharfan; mal y llenwir yn hollol, ac y cauir i fynu ran dufewnol y geg, tan wythio yr anadl i ffordd gydag ymegniad grymus. Arwydda yr agwedd eneuol yma, a'r sain gyfatebol, unrhyw ymdrechiadau i *ddal*, *cynnwys*, neu *gadw unrhyw wrthrych.*—Arwydd y llythyren hon ydoedd y *Gollen;* pa bren sydd yn casglu ei ffrwyth, yn ei gadw, ac yn ei gau i fynu mewn plisgyn agos anhydraidd; yr hyn sydd yn peri ei fod yn dra addas i arwyddo C.; neu *ddaliad* a *chynwysiad.*"—*Cryn. o Elf. yr Iaith.*

*c* Traethawd ar Elfenau neu Gyntefigion y Gymraeg gan yr un.

*d* Megis Iâ, Iau, Ieuo, Yw, &c.

*e* O'r wyth ran ymadrodd gwasanaetha *A* unigol am bedwar, sef *Berf*, *Rhagferf*, *Cysylltiad*, ac *Arddodiad.*

## Y CEILIOG-RHEDYN.

A GYFANSODDWYD YN HAF 1853, PAN OEDD Y TRYCH FILYN UCHOD YN ANRHEITHIO CNWD Y DDAEAR YN GOLLEDFAWR.

---

Trwy yr ŷd draw i rodio—doe aethum,
A chyd-deithydd yno;
Ac fel yma gydag o,
Yn gymwys bu'r ymgomio.

'Trydar Ceiliogod-rhedyn,—ebr ef,
Bâr ofid a dychryn;
Yn gafod draw, pan daw dyn,
Y gwylltiant ar bob gwelltyn.

O ba lwyth, y mae'r adwythig—drychfil,
A'i edrychfa ffyrnig?—
Dwy aden, chwe' phawen, a phig!
A'n ei flaen yn fileinig?

Edyn a chyrn! dyna i chwi—ellyll
Allan o'r trueni!
Y pena wnaed, poena ni,
Yn aflanaf eleni.

Digloff y naid, a'i heglau—hir-geimion,
Yn argymell pranciau;
O naid i naid, mae'n dibaid wau,
Naid ragor i wneud drygau.

Un byw'i elfen, a'i balfau—yn bachu,
Mewn beichiog gorsenau;
Rheibiwr, difrodwr, ydau,—
Y lleidr bach, mae'n llwydo'r bau.

---

O! taw y gwr, taeog eiriau,—a thrin
Athroniaeth dy nwydau;
Mae syfrdan, o'r tuchan tau,
A swn od i'th syniadau.

Creadur yw'r Ceiliog-rhedyn,—ufudd,
I Ddwyfol orchymyn;
I'r Doeth Ri, na thydi'r dyn,
Trech ei fawl yw'r trychfilyn.

Ei big i'n tir heb ganiatâd,—ni roes,
Ymryson sydd anfad;—
Gwrandaw'r gair, o'n daear gâd,
Y pryfyn i dd'weud profiad.

Os di-lun, a distaw ei lêf—ydyw,
Creadur digartref;
Y gwr diddysg, rhaid addef,
Wêl ŵg Duw'n ei lygad ef.

---

Nid wyf leidr, dyfal edrych,—wr, dy lwybr,
Er dy lês yn fynych;
Llwyr wilia'n mhob lle'r elych,
Mae rhyw swydd i dymor sych.

Gofyn i'th dyddyn diddail,—yn ei iaith,
Beth noethodd y gwïail?
Neu, ofyn i'r anifail,
Sy'n brefu, wrth dynu'r dail.

Ateb, Pwy ytyw Pïydd—y llysiau,
Lluosog a'r maesydd?
Yr un llaw, a'r un Llywydd,
I gryf a gwan, eu rhan rhydd.

Yn lle y blodau yn llawn,—llwyd olwg;
Yn lle dolydd ffrwythlawn,
Yn bwrw adladd yn brydlawn,
Hydref gwyw hyd yr Haf gawn.

Fel hyn ei lef o flaen ei lu—roddes,
Trwy arwyddion sychu;
Ond er pob rhybuddio, bu,
Y boblogaeth heb blygu.

Rhodda llawer, eu hamserau—i droi,
Wrth drefn y planedau!
Ond Duw Mawr, mewn tymorau—ni welir!
Yn aml e wedir ei ymweliadau!

Yntau, y ni 'n fintai a wnaeth—i lwyr
Egluro'i lywodraeth;
Ond ryw ddydd, gwybydd mai gwaeth,
Os tery, am anystyriaeth.

Y dyn caed, yn y códwm—yn Adda,
Yn droseddwr llawdrwm;
Ond y trist, ganlyniad trwm,
Bu tros-y byd direswm.

Felly heddyw, am na fu llwyddiant—ar
Lafurwaith,—i fethiant,
Fel dyn, anifeiliaid ânt;
Y dynged nis diengant.

Ond tröed y dyn, at reol—ei Naf,
Gan ofyn yn ffyddiol,
I Dduw, ei râs maddeuol,
Ei nawdd, a'i wyneb yn ol.

## ENGLYNION.

### A ANFONWYD AT GYFAILL, AR EI FYNEDIAD DAN YR IAU BRIODASOL.

Gwedi'th roi gyda'th Rian,—dan yr iau
Dyner iawn,—iwch weithian,
Mêl fo'n dyferu'n mhob man,
Yn chweg hap idd eich cwpan.

Dydd o elwch diddolur,—a bwthyn
Llawn o bethau natur,
Iddych poed, a heddwch pur,
I geisio duwiol gysur.

Wedi dydd priodi, daw—dydd angeu,
Dydd ingawl i'r difraw;
Ond i'r eiddil sy'n gwiliaw,
Rhydd drem ar y bröydd draw.

## ENGLYNION

### AR FARWOLAETH MORGAN HOWELLS.

---

*Bu farw yn Tredegar, Mawrth* 21, 1852, *yn* 58 *oed.*

---

WELE! daeth cwmwl dû!—mawr gynhauaf
  MORGAN HOWEL ddarfu;—
 Ac wedi'i fyn'd, cawod fu,
 Am y wlad yn ymledu.

Gweinidog gwiw nodwedd,—allai dywallt
  Neillduol hyawdledd;
 Torf wnai, pan gyhoeddai hedd,
 Waeddi allan—"O! ei ddullwedd."

Ei law, ei ystum, a'i lef,—dangosent
  Ing Iesu 'n dyoddef;
 Delw Angel, a dolef
 Dyn oedd, yn yspryd y Nef.

Yn sŵn, ofnawy Sinai,—*Gwaed y Groes*,
  Gyda grym gyhoeddai;
 Heddwch!—o'r mellt a waeddai!
 Trwy ei Grist, i'r euog rai.

Byw i Grist, a thebygu'r oedd,—heliai
  I'w ddilyn dyrfäoedd;
 Uwchaf, yn flaenaf ei floedd,
 A fu mewn Cymanfäoedd.

Mwy, i wynfyd y bur Gymanfa—aeth,
At berffeithiol dyrfa;
A llu y Nef, llawenhâ,
Ei ganfod ar dir Gwynfa.

Gan ryw Angel, ca'dd Delyn,—a HOWEL
Ddechreuodd ei Emyn;
Dysgai'r Sant ar bob tant tŷn,
Y nodau mewn mynydyn.

## ENGLYNION
### AR FARWOLAETH IEUAN GWYNEDD.

*Bu farw yn Caerdydd, Chwef.* 23, 1852, *yn* 32 *oed.*

IEUAN GWYNEDD, yn gynar—aeddfedodd
I fyd uwch pob galar;
Ac mewn bedd, caedd ddiwedd ar
Helbulon duon daear.

Ieuan Gwynedd, o ganol—ei ofid,
A'i lafur defnyddiol,
Diengai i wlad ëangol—
Wele'n awr wylwn o'i ol.

Ieuan Gwynedd, bu'n ganwyll—i lawer,
I oleuo'n ddidwyll;
Niwl tew pabyddol tywyll,—yn brysur,
Drwy ei antur, gyrodd draw â'i wyntyll.

Ieuan Gwynedd, bu'n gweini—i'w genedl,
Fel genau'n mynegi,
Eu cymeriad, er camwri—y Sais,
Curodd ei ddyfais, cawr oedd i'w ddofi.

Ieuan Gwynedd, annigonol—i hwn
Un enwad crefyddol;
Torai i'w genedl, trwy ganol—y pleidiau,
A'u hiawnderau fu'i lafur awdurol.

Ieuan Gwynedd, un gonest,—gwyddai wir
Egwyddorion Dirwest;
Llênorydd, yn llawn arwest—ei ganu,
Ow! Ow! ei dywarchu wedi orchest.

Ieuan Gwynedd, un geiniog*—a roddaf,
I arwyddo'n serchog,
I'r anwyl wr enwog—barch digymysg,
Am odlau hyddysg mwya' delweddog.

* Gwnaed casgliad Cenedlaethol o *Un Geiniog* i wneud Côf-golofn ar ei fedd.

## DRYCH Y RHAGRITHIWR.

---

Adnabod Godinebwr—a ellir
  A dulliau 'r cribddeiliwr;
 Cael un dirgeledig gwrr
 Ni ddichon Cyfeddachwr.

I'r wlad, amlwg yr Erlidiwr,—y Lleidr,
  A llw 'r Anudonwr,—
 A ffoi rhag ffau y Rhegwr
 Alles dyn, er ei holl stwr.

Dylyn wneir ol traed Bydolwr,—o bell
  Gwelir balch a choegwr;
 Llofrudd, ni ymgudd y gwr,
 Yn un modd, mwy na Meddwr.

Eithr i groth y *Rhagrithiol*—dig anfad,
  Eginfa chwyn marwol,
 Dyn ni fedr adwaen ei fol,
 Lle tyfa holl hâd Diafol.

Bedd, o'i gylch bydd o galchiad—hunanglod,
  Yn wyn-glaer ei drwsiad,
 Ond mae 'n ei fol dom an fad,
 Esgyrn a budr gymysgiad.

Hidla fo, gan edliw faint,—gwybedyn,
Mewn gwybodaeth gywraint;
A thrwy 'i hirion ddigllon ddaint
E lwnc gamel naw cymaint.

Mel ar dafod a malais—mewn calon,
Mae 'n celu ei ddyfais,
Dyna y drwg, dwyn ei drais
O amgylch yw ei ymgais.

Y ddeddf a esyd yn dda,—i eraill;
Mewn puredd ymffrostia,—
O'u gwydd wed'yn ymguddia,
Eithrio 'n hyll i'w thori wna.

Ei hanes os olrheinir,—yn y byd
Lle bu crefydd gywir;
Mae 'n alaeth, man ni welir
Na bu hwn a'i wyneb hir.

Yn ei wedd hirllaes pwy na ddarllen—SARPH,
I'r sill a'r llythyren,
Yn dorchog dan dywarchen,
A phig wenwynllyd i'w phen.

Tew orchudd fel tywarchen,—araeth dda,
A rhith o dda elfen;
Ond o wybod y dyben,
Gwyliwn bawb golyn o'i ben.

# ENGLYNION CYSDADLEUOL.

## I'R HAUL.

GWANAR yw'r Haul a gwenydd—holl anian,
Gwawl llonwych ysplenydd;
Gwres difwg a roes Dofydd,
Lliw aur da, yn llywio'r dydd.

## WRTH BEN FFYNON

Bron ddihesp, rhinwedd ddyd;—y bêr Ffynon
Bâr ffyniant a iechyd;
Dlystyllfa ddistaw hollfyd!
Arllwys fôr, er lles i fyd.

## Y WENYNEN.

Colynog, cul enau—yw'r Wenynen,
Pryn hon ei thymorau;
Sugn y dail nes gwneud diliau,
A mêl chweg i'n haml iachâu.

## Y MORGRUGYN.

Rhag angen, trŷ a gwinga—Morgrugyn;—
Segurddyn dwys gerdda;
Ei orlwyth ddyd, ddarlith dda—
Ef o'i lwch efelycha.

### ARALL.

Ei loches bob yn lwchyn—a lluniaeth,
Yr Haf, lleinw'r Morgrugyn;
A thra'i dwg, athraw diogyn,
Dwg gan dd'weud, "Gwna d'egni ddyn."

## NODWEDDION WASHINGTON.

Yn y golofn hon gwelwch—Gadfridg
Da'i frodir, a'n helwch;
TAD EI WLAD!—Dywed ei lwch,
RHYDDID, CYFIAWNDER, HEDDWCH.

## Y DDAFAD.

Y Ddafad fach, oddefol—gwnaed i gyd,
Gnawd a gwisg yn fuddiol;—
Dan ei dywydd, dyn duwiol,
O anian, hwn â'n ei hôl.

# BEDD-ARGRAFFIADAU.

*Y Parch. MORRIS DAVIES, Gweinidog y Trefnyddion Calfinaidd yn Utica, E. N.*

Daw'r tro i ymweled â'r trwch—bridd llaith,
Ti eilwaith, o'r tewlwch,
Glywi'r llêf yn dadgloi'r llwch,
Er dy ddwyn i'r diddanwch.

*Mr. DAVID EDWARDS, Tŷ'n-y-fedw, Llanuwch-llyn, G. C., (tad yr awdwr.)*

Ca'dd naw-deg, mlwydd têg, ond tair—yn y rhai'n,
Tri'gain rhoes heb anair,
I waith Ion, pan ddaeth ei air,
I'w godi i uwch gadair.

---

*EDMUND PRYS EDWARDS, maban John a Mary Edwards, Floyd.*

Yn more'i fyd, anmhrofiadol—iach oedd
O bechod gweithredol;
A thrwy'r Gwaed, fe wnaed heb un ôl,
Na gradd, o bechod gwreiddiol.

---

*ROBERT RICHARDS, Dolgellau, G. C.—Bu farw Tach. 21, 1852, yn 82 oed.*

Yma, i lawr, ar ol milwriaeth—deg,
I dŷ llygredigaeth;—
Dyn i Dduw'n aeddfed iawn ddaeth—a'r Duw hwnw
O law'r bedd a'i geilw, er buddygoliaeth.

---

*Ar fedd ELINOR, gwraig Cad. John W. Jones, Racine, Wisconsin.*

Erioed, dim ond anrhydedd—gai Elin,
A gwelwch ei diwedd;
Gadael priod yn gydwedd,
A thri bach, a throi i'w bedd.

*JOHN a JANE EVANS, gerllaw Rome, E. N.*

Cydfyw mewn llwydd ac adfyd—yr unwedd,
Drwy'r einioes oedd hyfryd;
A'n rhanau o boenau'r byd,
Wybuom yn ein bywyd.

---

*JANE, merch Owen a Rose Evans, Floyd, E. N.*

Ei thymor yn ei thŷ yma—mae'n fyr,
Am anfarwol Wynfa
Derfydd; daw Jane at dyrfa,
Byd y gwawl—bywyd a ga.

---

*Ar fedd Merch Ieuanc, o Gymru.*

Dedwyddyd, dy awyddu— a wnaethum,
Pan deithiais o Gymru;
Awyddais nes diweddu,
Heb awydd dim, mewn bedd dû.

---

*Ar fedd Henafgwr.*

Os ieuanc, y dyn, a sionc di—neu hên,
Gwn hyny drwy brofi;
Bûm yn hên, bûm yn heini,
Ac wele'r fan, celir fi.

# CAN AR DDIRWEST;

MEWN CYSYLLTIAD A'R GYMDEITHAS DDIRWESTOL GYMREIG YN EFROG NEWYDD.

---

*Y Cyfansoddiad Buddygol ar un o Destynau Cymdeithas Haelionus Dewi Sant, erbyn ei Chylchwyl ar Wyl Ddewi*, 1842. *Gwobr—Ariandlws gwerth Pum' Doler.*

---

Ar godiad neu doriad gwawr Dirwest,
  Dymunwn modd gonest am gael,
Meddyliau, a doniau i daenu,
  Y modd y mae'n ffynu, heb ffael;
Ei heffaith yn berffaith heb orphwys,
  Wna wiwlwys Baradwys o'n bro,
Trwy buro, a churo o'i chyrion,
  Bob hyllion arferion a fo.

Y gelyn mae'n erlyn, er mawrles,
  (Y rhyfel a bares yn boeth,)
Yw Medd'dod, cawr hynod, ceir hanes,
  I hon ei orddiwes yn ddoeth;
Gwŷn, lladrad, odd y wlad a thlodi,
  Pan welant mai colli mae'n cawr,
Darfyddant, hwy giliant o'r golwg,
  Argoelion sy'n amlwg yn awr.

Trwy lafur, hael antur, helyntiog,
I Efrog odidog y daeth,
Nid hafal na chystal gorchestion,
Mewn cofion, yn union a wnaeth;
Caedd nifer hoywber o feibion,
Caedd weled ei gâlon ar gil,
Cynyddodd, e wychodd y fechan,
Y druan yn fuan ai'n fil.

Y Cymry bryd hyny brwd danient,
Ymunent, arwyddent yn rhês!
Yn addas Gymdeithas y daethant,
Er mwyniant, er llwyddiant, er llês;
Bob diwrnod i'r ystod dirwestol,
Maes meddwol afrwyddol a roed,
Y corsydd yn ddolydd, heirdd helaeth,
Llawn toraeth gan driniaeth a droed.

Yn helaeth, Dirwestiaeth pan drystiodd,
Drwy'r ddinas arafodd ar rwysg,
Drygioni, wnai fedi ynfydion,
Cyngorion rhoe'n brydlon i'r brwysg;
Dosparthodd a rhanodd ei rhinau,
Ugeiniau o'i rhadau yn rhwydd,
Profasant, mwy tystiant mai tostur,
Difesur ei llafur a'i llwydd.

Y meddwyn, wael adyn, cofleidiodd,
Dyrchafodd, e'i dododd ar dir,
O'r pydew,—âg olew ymgeledd,
Gwnai'i goledd o'i waeledd yn wir;
O rhagddo trwy gipio drwg gwpan,
Achubodd e'n fuan o fod
Yn aflan ddû hunan-ddihenydd,—
O gonglydd diodydd mae'n d'od.

Llwyr wella ei ddulliau oddiallan,
  Ei hamcan, rhoi'r truan mewn trefn,
A'r eiddo fu'n wario am wirod,
  Mae'n darbod yn gysgod i'w gefn;
Dug elwch a heddwch i'w haddef,
  I'w deulu fu'n goddef dan gur,
Rhag eisiau da reidiau dyredant,
  O fwyniant a'u boddiant yn bur.

Gan erfyn, dewr estyn Dirwestiaeth,
  Ei llaw i'r gym'dogaeth yn daer,
Pob graddau'r un moddau a'r meddw,
  A eilw, a cheidw'n ei chaer,
Cyn llitho a syrthio, naws wrthun,
  Trwy wneuthur gwag eilun o'r *gwirf*,
Cyn gwywo, neu suddo ansoddiad,
  Mae'n gwarchad ei deiliad yn dirf.

Babanod, Rhianod, a'r Henwr,
  Ieuangwr, pob cyflwr sy'n cyd
Gael lloches i'w mynwes ddymunol,
  Rhag meddwol lu bradol eu bryd;
Ca'r gwragedd eu hanedd yn hoenus,
  Heb gecrus swn poenus i'w parth,
'Pob priod a'i wyddfod yn addfwyn,
  Nid meddwyn, llawn gwenwyn a gwarth.

Budreddi 'n arogli o'r eglwys,
  Cyn gorphwys, eu harllwys wna hi,
Hen afiach gyfeddach, gau foddion,
  Traddodion henafion i ni;—
Gwrthgiliwr yn filwr hyf alwodd,
  Gwaredodd, e'i tynodd o'r tân,—
Hawdd tystio gair drosto'r dirwestydd,
  Fod cynydd i'w grefydd, a grân.

Dedwyddyd, tro hyfryd, trwy Efrog,
  Wnaeth Dirwest wiw serchog ei swydd;
O'r dwthwn gwnae'r Cymry Gymdeithas,
  Galanas mae'n lluddias mewn llwydd ;
Y pleidiau, pob enwau, pawb unent,
  Cydweithient, ardystient er d'od!
Yn erbyn hen elyn dynoliaeth,
  Dirwestiaeth yn benaeth sy'n bod.

Cyfranwyd, dybenwyd gwneud Baniar,
  (Celfyddgar, dillyngar oll yw,)
I'r perwyl,—am orchwyl y merched,
  Dyiolched, mawl rhodded pob rhyw;
Mewn bri a haelioni cyflwynent,
  Y Faniar anrhegent, yn rhwydd,
I'r Cymry dewr, ystig Dirwestol,
  Fel nod anogaethol i'w gwydd.

Per Ddirwest! cain orchest, cynyrched,
  I'n cenedl llewyrched yn llon;
Yn Efrog, banieirog bo'n aros,
  Doed lluos a'u hachos i hon;
Meddyges, â'n dduwies y ddaear!
  I bedwar, yn Sinar,* rhoes hi
Brawf cywir, oddiar egwyddorion,—
  Rhydd weithion gynygion i ni.

* *Dan.* 1.

## AR FARWOLAETH

*Mr.* James Owen, *hen., Pen-y caerau, ger Remsen, Swydd Oneida, E. N., Blaenor parchus yn nghyfundeb y Trefnyddion Calfinaidd. Ymadawodd a'r fuchedd hon Gor.* 31, 1853, *yn* 73 *oed.*

---

Darfu am y cyfiawn, o fysg y byw!
Pwy at ei galon ddyd, ond Seion Duw?
Pwy deimla'r archoll ddyfnaf dan ei bron?
A phwy amddifadwyd fwyaf? Onid hon?
Tra'n hwylio'n wan, yn erbyn tymhestl cnawd,
O'i dwylaw collai ysprydolaf frawd;—
Tra'n crwydro yn yr anial, dyrus, maith,
Mewn ofn, a pherygl colli llwybr y daith;
I'w harwain, collai Flaenor union droed,—
A phallai'r llaw, gyfranai'n hael erioed;
O dan bwysau y syrthiodd colofn braff!
Oddiar y mur, ehedodd gwiliwr craff;
O'i hawyr ciliodd seren oleu, lawn—
A phlygai corsen, o dan bwysai'r grawn.

Pwy all i'th gyntedd dd'od heb lygad gwlyb?
*Ni ddichon neb;* ateba dynol dyb;
*Gall;* medd Addewid a Rhagluniaeth Ior,
Yr Hwn a lwybra trwy ddyfnderau'r môr;
Nac ofna'r ystorm, na gwg y cwmwl dû,
Mae digon yn eu cynnwys o dy du;
Pan *collir*, un o'th fysg oddiar y llawr,
Ei *gael*, i'r eglwys orfoleddus fawr;

Wrth dy ystlys meithrinia arfaeth Ne',
Un o'r un yspryd—cymwys yn ei le;
Gan hyny, gelli orphwys dan ei nawdd,
A'th heilltion ddagrau, ymaith sychu'n hawdd;
Boddlona weithion, wedi diwrnod maith,
I Owen gael ei wobr, ar ol ei waith;
Gwel! trwy'r engraifft hon ddwfn ddoethineb grâs!
Am *dri'gain mlynedd* caedd ef dyfu'n lâs!
Ffrwytho wnai'n dy gyntedd, ac yr un pryd,
Ireiddio i'r Nef—a chrino i'r byd.

Ond wedi awr y datod dd'od i ben,
A disgyn cenad Nef, ar aden den;
Wrth nesu i niwl yr Iorddonen ddofn,
Hyd rosydd Moab, teimlai iasiau ofn;
Ond at ei blentyn, mewn tynerwch troes
Y Tad, a thros ei natur twmgwsg rhoes;
Fel Adda, gynt pan collai'i asen gu,
Ni theimlai'r loes, ac unrhyw glwy ni bu,
Deffröai'n araf, wedi tawel hun,
I'w syndod—gwelai Briod wrth ei glun!
Felly yntau—aeth trwy yr afon hon,
Heb deimlo'i dw'r, na nerth ei rhuawg don;—
Agorai'i lygaid, a chanfyddai law
Ei Briod! yn ei dderbyn yr ochr draw.

---

EVAN E. ROBERTS, ARGRAFFYDD.

